DWYWAITH

# O AMGYLCH Y BYD;

SEF

## HANES TEITHIAU

YN

EWROP, ASIA, AFFRICA, AMERICA, AC AUSTRALASIA,

YN YSTOD PUM' MLYNEDD O AMSER.

---

GAN W. O. THOMAS,

GOHEBYDD "Y DRYCH."

---

UTICA, N. Y.

T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, 131 GENESEE ST.

1882.

## RHAGYMADRODD.

---

Dichon y bydd yn ddyddorol i'r darllenwyr gael ychydig o hanes awdwr y llyfr canlynol. Ganwyd fi yn mhlwyf Maentwrog, Swydd Feirionydd, Gogledd Cymru, yn y flwyddyn 1845; ond pan oeddwn yn dair blwydd oed symudodd fy rhieni i Ffestiniog. Pan yn naw mlwydd oed anfonwyd fi i weithio i un o chwarelau Ffestiniog, ac yno y bum nes oeddwn yn ddeunaw mlwydd oed. Yr amser hwnw anfonwyd am dri o chwarelwyr i fyned i chwarel yn agos i ben tir y Werddon, ar lan y Bantry Bay, ac aethym yno; ond gan nad oeddwn yn hoffi y lle na'r bobl, ac o herwydd fod arnaf hiraeth mawr am fy nghartref, dychwelais yn mhen tri mis. Methais a boddloni fy hun yn Ffestiniog, a chododd awydd mawr ynwyf am fyned i America, eithr nid oedd fy rhieni yn foddlon i mi fyned mor bell; a bu hyny yn foddion i fy atal i ymfudo am flwyddyn. Yn Ebrill, 1865, cefais ganiatad gan fy mam i fyned mor bell a Liverpool, i ddanfon dau gyfaill ar eu cychwyniad i America, ar yr amod fy mod i ddychwelyd yn mhen yr wythnos. Yn Liverpool, cododd yr awydd am fyned i America yn gryfach ynwyf, a phenderfynais anturio i ffwrdd gyda fy nghyfeillion, fel yr oeddwn. Nid oedd genyf ond *carpet bag* bychan, yn cynwys dau grys, blychaid o goleri papyr, a llyfr hymnau bychan; ac wedi talu fy nghludiad i New York, yr oll oedd genyf yn fy llogell i wynebu ar y gorllewin oedd deg swllt. Cawsom

fordaith dymestlog yn y *City of Cork*, a buom ar y môr am 17 o ddyddiau; ond cyrhaeddasom yn ddiogel i New York.

Anturiais gyda fy nghyfeillion i Hydeville, Vt., ac yno cefais waith yn y chwarel, yn hollol ddidrafferth, gan y bardd melus "Ionoron Glan Dwyryd." Drwy garedigrwydd fy nghyfaill diffuant, Hugh W. Hughes, yn awr yn West Pawlet, cefais *suit* o ddillad newyddion, a lle i fyrddio gyda Gwyddeles, yn agos i'r chwarel. Wedi gweithio digon i dalu fy nyled, ac i deimlo yn annibynol, dechreuais anesmwytho; ymadewais, ac aethym i Middle Granville, N. Y., lle y gweithiais mewn chwarel hyd y Nadolig. Yr amser hwnw symudais i Maryland, ac yn mhen pedwar mis anfoddlonais ar y lle, ac aethym i Virginia. Yn ddylynol i hyny cyfeiriais fy ngwyneb at Georgia ac Alabama, a threuliais naw mlynedd yn y Talaethau Deheuol. Cyfarfyddais â gradd o lwyddiant yn y fasnach lechi, a bum yn byw yn North a South Carolina, Florida, a Texas; eithr methais a boddloni fy hun yn unrhyw fan yn y Talaethau Deheuol cystal ag yn Nashville, Tenn. Bum yn byw yno am dair blynedd; yna derbyniais benodiad i fod yn *traveling agent* dros y *Tennessee Car Roofing Company*, i fyned i California, yn niwedd 1874. Yr oeddwn erbyn hyn wedi cael cyfleusdra i ymweled a'r oll o'r Talaethau oddigerth Maine.

Hoffais Dalaeth California gymaint fel na theimlais awydd am ddychwelyd i'r Dwyrain, fel yr oeddwn wedi penderfynu. Wedi treulio amryw wythnosau yn ddifyrus iawn yn San Francisco, aethym i weithio mewn mwnglawdd arian byw yn Knoxville, ar ben

uchaf Napa County. Bum yno bedwar mis, yna dychwelais i San Francisco; a chan nad oedd neb wedi darganfod chwarelau llechi ar ochr y Tawelfor, penderfynais chwilio o ddifrif am lech-faen yn California. Cymerais fy ngwrthban ar fy nghefn, a throais fy ngwyneb i'r mynyddoedd, gan gerdded gyda glanau yr afonydd a'r ffrydiau, ac arsyllu yn fanwl arnynt oll. Bum am ddau fis yn crwydro dros y mynyddoedd a thrwy y dyffrynoedd, ac o'r diwedd credais fy mod wedi canfod llech-faen o'r fath oreu, yn agos i Placerville, Eldorado Co., California. Yr oedd o fewn ychydig filldiroedd i'r fan y darganfyddwyd aur gyntaf, gan Mr. Marshall, yr hwn oedd yn byw ar y pryd mewn pentref bychan yn y gymydogaeth.

Wedi sicrhau y tir drwy yr hwn y rhedai y llechfaen, a gwneyd swm mawr o lechi, ffurfiwyd *stock company* yn San Francisco i weithio y chwarel. Gan fod amryw o adeiladau yno wedi eu toi â llechi, a phobl yn eu hoffi, gwerthodd y *slate stock* yn uchel dros gryn amser. Yn y cyfamser cefais ar ddeall nad oedd y cwmni yn cario y chwarel yn mlaen wrth fy modd, a'r canlyniad fu i mi werthu fy nghyfranau yn yr anturiaeth chwarelyddol, a chychwynais yn fuan ar y teithiau, y ceir eu hanes yn y llyfr hwn.

WILLIAM O. THOMAS.

UTICA, N. Y., Mai, 1882.

# CYNWYSIAD.

---

## PENNOD I.



## PENNOD II.



## PENNOD III.



## PENNOD IV.

PENNOD V.



PENNOD VI.



PENNOD VII.



PENNOD VIII.



PENNOD IX.

PENNOD X.



PENNOD XI



PENNOD XII.



PENNOD XIII.



PENNOD XIV.



PENNOD XV.

# DWYWAITH O AMGYLCH Y BYD.

## PENNOD I.

*Mordaith o San Francisco i New Zealand—Cyraedd y Sandwich Islands—Prydferthwch Honolulu—Mynyddau tanllyd—Y Kanakas fel nofwyr goreu y byd—Pysgod hedegog—Croesi Llinell y Cyhydedd—Cael golwg ar ser newyddion—Ynysoedd y Navigators—Y brodorion—Savage Island—Ymddygiad hynod y brodorion—Ffrwythau tanllyd—Ymweliad John Williams a'r Ynys—Credöau hynod y brodorion—Ynysoedd Polynesia—Brenin y Sandwich Islands—Llwyddiant y cenadon—Ynysoedd Tahiti, Fiji, Samoa, &c., &c.*

Cychwynais o San Francisco Tachwedd 9, 1875, gyda'r agerlong *Macgregor*, gan adael lluaws o gyfeillion hoff ar y lan yno. Yn eu plith enwaf y Parch. John Moses, gan yr hwn y cefais gyngorion caredig a buddiol, ac yr wyf yn credu y bydd i mi eu cofio. Dymunaf iddo lwyddiant i wneyd llawer o les eto. Ar ol i mi ffarwelio gyda phawb, ysgrifenodd Mr. Moses y geiriau canlynol, gan eu rhoddi i mi

ar fy mynediad i'r agerlong. Os nad wyf yn methu, y maent fel hyn:—

Fy nghyfaill hynaws, serchog,
  Beth bynag fyddo'th ffawd,
Wrth groesi'r Mor Tawelog,
  Mae Un yn well na brawd;
Ei ddwyfol law reola
  Ymchwyddol donau'r môr,
Hyd borthladd pell Awstralia
  Boed ef dy gadarn Ior.

Yn fuan wedi hyn yr oedd y *Macgregor* allan o olwg fy nghyfeillion, ac ni bu yn hir cyn myned trwy y *Golden Gate*, a chaed golwg unwaith eto ar y Cliff House a'i hynodrwydd; ac ni bu ond ychydig amser cyn ein bod yn cael yr olygfa ddiweddaf ar America, gwlad y rhyddid. Ond gan mai Americaniad yw fy nghyfaill sydd yn cyd-deithio â mi, ac heblaw hyny mae yn ysgolfeistr, yn llawn cariad at ei wlad, buom yn edrych yn ol hyd nes oedd y tir wedi myned yn llwyr o'r golwg. Yn awr yr oedd yn rhaid edrych yn mlaen i'r môr mawr, gan wybod na welem dir hyd nes cyraedd yr ynys hon. Ni ddygwyddodd dim neillduol hynod rhwng San Francisco a'r lle hwn; ond am y ddau ddiwrnod cyntaf yr oedd y môr yn lled gynhyrfus, a thrwy fod y *Macgregor* wedi ei gwneyd yn gul ac yn hir, i'r dyben i redeg trwy y Suez Canal i China, caws-

om ein siglo yn debyg fel pe buasem mewn cryd. Gan fod tipyn o amser er pan fuom yn y cryd o'r blaen, teimlem bob ysgogiad yn eglur, a thrwy hyny bu i ni aros yn hynod ddystaw yn ein gwelyau am y ddau ddiwrnod, heb gymaint a chodi i fwyta. Am y ddau ddiwrnod a nodwyd, nid oeddwn yn credu fod y môr mawr hwn yn deilwng o'r enw da sydd arno, sef y Tawelfor; ond gan ein bod wedi cael tywydd hynod o hyfryd o hyny hyd yn hyn, yr ydym wedi maddeu iddo, ac yn foddlon iddo gael ei enw da eto. Eithr nid ydym wedi maddeu i'r *Macgregor* eto; ond ymddengys mai hon yw y daith olaf iddi i'r lle hwn, gan fod y Pacific Mail S. S. C., wedi cael y *contract* i gario y *mail* rhwng America ac Australia am yr wyth mlynedd nesaf, o ddechreu Ionawr, 1876. Gan fod y Cwmni newydd wedi adeiladu ager-longau rhagorol a chyflym i'r pwrpas, mae yn sicr y bydd gwell trefn ar y *mail* rhwng y ddwy wlad o hyn allan. Bydd i'r *mail* ddyfod yn gyflym a rheolaidd, o herwydd mae y cytundeb yn galw am hyny, tra nad oedd y Cwmni Seisonig sydd yn cario y *mail* yn awr, dan un math o ymrwymiad yn nghylch amser. Bydd hyn er daioni, ac megys yn agoshau y ddwy wlad at eu gilydd. Mae y Cwmni newydd wedi dechreu rhedeg

eu hagerlongau yn barod, ac yr oedd un o honynt, sef y *Colima*, i gychwyn yn mhen ugain awr ar ol y *Macgregor;* ac mae yn ymddangos fod Captain y Colima wedi betio hefo ein Captain ni, y byddai yn Honolulu o'n blaen. Yr wyf yn deall mai £20 oedd y *bet*, a thrwy hyny rhoddwyd mwy o *force* ar y *Macgregor* y tro hwn nag a fu erioed o'r blaen. Yr oedd pawb mewn petrusder rhag ofn fod y Colima wedi cyraedd o'n blaen; ac ar ol wyth niwrnod a naw awr, daeth y *pilot* i mewn, yr hwn a'n hysbysodd nad oedd y Colima wedi cyraedd. Parodd hyn lawenydd mawr a churo dwylaw. Y pellder o San Francisco ydyw 2,100 o filltiroedd; ac felly, gwelir ein bod wedi gwneyd amser da.

Nid oes genym ond un diwrnod i aros yma, ac o herwydd hyny nid oes genyf amser i roddi hanes manwl am y dref brydferth hon. Mae yr olwg gyntaf arni yn peri i ddyn syrthio mewn cariad â hi. Ceir yma bob math o *shade trees* ar hyd yr heolydd. Mae y dref yn debyg i Great Salt Lake City, Utah. Mae yma borthladd rhagorol, y dwfr mor loew fel y gellir gweled y gwaelod pan yn 25 troedfedd o ddyfnder. Gwelir heidiau o bysgod hedegog yma bob adeg o'r flwyddyn; a gwelsom rai pan ar y fordaith yma. Ni welir ond

ychydig o'r dref o'r môr, drwy ei bod yn cael ei gorchuddio gan goed cysgodol; eithr y mae rhai adeiladau yn uwch na'r coed, ac yn ymddangos yn dra hynod i mi. Mae pob adeilad da sydd yma wedi ei doi â llechau, a gludwyd o Gymru; ac mae mwy na haner adeiladau y dref wedi eu toi â llechau. Ceir yma rai adeiladau da, megys y Custom House, y Post Office, &c. Gwelais Balas y Brenin, yr hwn sydd yn sefyll ar erw cyfan o dir, y lle prydferthaf o'r dref. Mae haner, os nad mwy na hyny, o boblogaeth y dref hon yn Ewropiaid, a llawer o China yma. Mae ychydig o'r Kanakas, sef y brodorion, yn cario masnach yn mlaen yma. Nid oes yma le da i ddyn gwyn fel labrwr, drwy fod y Kanakas yn gweithio yn debyg i'r Negroaid yn y De a'r Chineaid yn California, sef yn rhatach nag y gall dyn gwyn wneyd. Dolar yn y dydd yw eu cyflog i ddadlwytho llongau, neu unrhyw waith o'r fath. Maent yn ddynion cryfion a phrydferth, ac felly y merched hefyd; ond, wrth gwrs, y mae eu lliw yn dywyll. Mae bron bawb yn y dref yn gallu siarad Saesonaeg da; dywedir eu bod yn garedig wrth bawb. Dywedir nad oes yma un ran o ddeg o'r brodorion oedd yn y lle yr amser y cafodd Capt. Cook ei lofruddio yn 1779. Maent yn darfod yn gyflym, a

dywedir fod hyn yn cael ei achosi gan ddrygioni y merched. Mae yma bob math o gapelau, fel yn America, yn nghyd a chwareudai, a rhyw adloniant yn myned yn mlaen ynddynt yn barhaus. Yr wyf yn credu y bydd i'r dref hon gynyddu yn gyflym, drwy ei bod yn union ar y ffordd o San Francisco i Awstralia a China, ac Ynysoedd Môr y De. Mae llawer yn dyfod yma er cael lleshad i'w hiechyd, a phawb yn hoffi y lle.

Mae y mynyddau o amgylch y dref yn ymddangos yn debyg fel pe buasent wedi cael eu codi gan ddaear-grynfau ; ac mae yma fynyddau tanllyd hynod o uchel, ac weithiau chwythant afonydd o dân allan o eigion y ddaear.

Un peth tra hynod yn mrodorion yr ynysoedd hyny, yw y sylw a delir i nofio. Cyfaddefa haneswyr nad oes eu gwell am nofio mewn un ynys na gwlad ; a thrwy fy mod wedi eu gweled, yr wyf yn credu y ffaith. Bu tua deugain o blant o amgylch yr agerlong *Macgregor*, pan yn y *dock*, ac yr oeddynt fel pysgod, yn edrych mor ddiboen a naturiol pan yn y dwfr ag ar y tir. Eu dyben yno oedd begio ychydig o arian oddiar y teithwyr ; ac er mwyn eu gweled yn myned o dan ddwfr, bu i'r teithwyr daflu llawer o ryw fân arian iddynt—pe na byddai i ni ond taflu

darnau pum' cent i'r dwfr, byddent o'r bron yn sicr o'i gael cyn cyraedd gwaelod y dwfr. Gwelais hwynt yn dal darnau chwarter dolar pan yr oedd o leiaf 25 troedfedd rhyngddynt a hwy pan yn cyraedd y dwfr; ond aent i lawr ar eu hol a byddent yn sicr o'u dal yn mhell cyn cyraedd y gwaelod. Bu iddynt wneyd pob math o orchestion am dros dair awr, heb ddod o'r dwfr ac heb gymeryd gorphwysdra; ac yn y diwedd canlynasant y *Macgregor* i'r môr hyd nes yr oedd wedi myned yn rhy gyflym iddynt. Wedi hyny troisant yn ol dan chwareu, a dyna yr olwg ddiweddaf gawsom ar y Kanakas. Gellir rhoddi rheswm dros paham y mae y Kanakas mor enwog fel nofwyr, trwy ddweyd fod yr hinsawdd mor gynes bob amser, fel mae yn bleser bod yn y dwfr. Heblaw hyny maent yn credu fod yr un mor angenrheidiol i ddysgu nofio ag ydyw dysgu cerdded; ac mae y rhieni yn dysgu eu plant i nofio pan yn fabanod, trwy eu rhoddi ar wyneb y dwfr yn barhaus. Nid ydyw y Kanakas yn credu fod y fath beth a boddi; ac maent yn rhyfeddu clywed am ddynion gwynion yn boddi yn ymyl y tir.

Yr oeddym yn teithio agos yn union i'r de, ac yr oedd pawb o honom yn gwneyd ein goreu i basio yr amser mor gysurus ag y

gallem. Cawsom ganu da trwy fod rhai cerddorion yn mhlith y teithwyr. Yr oedd genyf dri copi o "Love me, Darling, love me," o waith y cyfaill D. P. Hughes, San Francisco. Cafodd gymeradwyaeth gan bawb; ond blinasom ar ganu, fel ar ddarllen a phob peth arall.

Fel yr oeddym yn agoshau at linell y cyhydedd, yr oedd yn boeth iawn, er fod pob peth yn cael ei wneyd i'n cadw mor gyfforddus ag y gallai ein Capten. Bu iddo roddi llen o hwyliau i gadw yr haul oddi wrthym yn y dydd, a thrwy fod y gwynt wedi codi, ni fu i ni deimlo gwres ar y *Line* yn agos gymaint ag yn mhen ychydig ddyddiau ar ol hyny. Bu y *Macgregor* bum' diwrnod ac wyth awr yn morio o Honolulu i'r *Line.* Nid oedd dim neillduol i'w weled, ond pysgod hedegog. Gwelsom gymaint o honynt fel nad oedd hyny yn beth newydd i ni yn fuan.

Cawsom dywydd rhagorol rhwng Ynysoedd Sandwich a New Zealand, a'r haul i'w weled yn codi a machludo yn hynod brydferth. Bu i mi hefyd syllu mwy ar ryfeddodau yr awyr ar y fordaith hon nag erioed o'r blaen. Cefais weled ser newyddion y clywswn son am danynt gymaint o weithiau, sef y Southern Cross, &c.; ond canfyddais golli fy hen gym-

deithion, *north star*, *big dipper*, &c., a thrwy hyny yr oeddym yn ymbleseru wrth edrych ar waith natur ar y mor fel ar y tir. Ar y 25ain, gwelsom dir ar ein deheu, a deallais mai un



PYSGOD HEDEGOG.

o'r Navigator's Islands oedd; eithr nid oedd ond ynys fechan, eto mae hono wedi ei phobl-ogi, fel y mae Ynysoedd Mor y De o'r bron i gyd. Enw brodorion yr ynysoedd hyn yw Samoa, ac mae wyth yn gwneyd i fyny y *group*, a gelwir hwynt yn awr Navigator's Islands. Dywedir fod y brodorion yn rhai mwy pryd-

ferth yr olwg arnynt nag sydd i'w gweled yn ynysoedd eraill Mor y De. Mae eu lliw yn goch felyn, yn debyg i'r Kanakas, ond fod eu croen yn llawer mwy llyfn na hwynt, a'u gwallt du yn donog ac yn hir. Nid oes dim yn debyg ynddynt i'r Fijiaid, gyda'u croen du bras, a'u gwallt gwlanog. Dywedir hefyd am y Samoans, eu bod yn rhai gonestaf ar y ddaear, a chyhoeddir ffeithiau i brofi hyny; ond maent yn rhy feithion i'w nodi yn awr. Dywedir hefyd am y bobl hyn, eu bod yn hollol wahanol yn eu dulliau i'r Fijiaid creulon a dialgar; ond maent, yn lle bod yn wrthwynebol, yn gyfeillgar a chariadus a chroesawgar i bob dyeithriaid, ac yn falch o weled dyn gwyn yn glanio yno; ac ar eu derbyniad, bydd iddynt eu cymeryd i'w cartrefi, a lladd moch a lloi er eu croesawu.

Yr oedd y *Macgregor* yn teithio yn ol deg milltir yr awr; ac ar yr 28ain daeth a ni i olwg tir eto, ac yn fuan deallasom fod yno dir bras. Cymerodd y *Macgregor* yr ochr orllewinol i'r ynys, ac yn fuan gwelsom fwg, yna daeth tân i'r golwg. Yr oedd hyny yn dangos ar unwaith fod yr ynys hono yn meddu trigianwyr, ac yn fuan wele dân mewn tri neu bedwar o wahanol fanau, a dynion yn cerdded o amgylch y tân. Yr oeddynt yn gwneyd

arwydd i ni i aros, a bu i'r Cadben wneyd arwydd y byddai iddo gydsynio trwy roddi yr hwyliau i lawr. Yn fuan gwelwyd tri o gychod yn cychwyn o'r lan, a chyn pen deg mynyd gwelwyd pump drachefn, a chyn bod y tri cyntaf wrth y *Macgregor*, yr oedd o leiaf ddeg-ar-hugain o honynt ar y ffordd atom. Cyn pen yr awr yr oedd tua haner cant o gychod yn amgylchu y *Macgregor*; ac yr oedd o bedwar i chwech yn mhob cwch, yr hyn oedd yn gwneyd tyrfa fawr o honynt o'n hamgylch. Brodorion yr ynys oeddynt oll ond un dyn gwyn. Yn ol yr olwg arno a'i ddull, yr oedd wedi bod yn yr ynys mor hir fel na wyddai ond ychydig am ddim arall. Nis gallai siarad braidd ddim Saesneg. Gofynwyd pethau iddo mewn wyth o wahanol ieithoedd, a Chymraeg oedd un iaith, ond methodd ag ateb yr un o honynt; eithr siaradai hefo'r brodorion yn eu hiaith yn llithrig. Ei amcan ef, fel y brodorion, oedd cyfnewid gwahanol deganau am ddillad; crysau a llodrau oedd arnynt eisiau fwyaf. Yr oedd rhai o honynt yn gwisgo rhyw ychydig o ddillad am danynt, eithr yr oedd y rhan fwyaf yn noethion ond yr arffedog am eu canol. Nid oedd gan fechgyn ieuainc ddim am danynt; ond yr oedd pawb o honynt fel yn hynod awyddus am ryw-

beth i guddio eu noethni. Yr oedd ganddynt bob math o arfau rhyfel i'w cyfnewid, yn nghyd a chregyn o bob math, ac hefyd ffrwythau o wahanol rywogaethau; ni chymerent arian—dim ond rhyw ddilledyn wnai y tro. Bu pawb yn hynod fywiog am dros ddwy awr yn masnachu gyda'r brodorion. Newidiodd pawb o honom gymaint o hen ddillad ag oedd genym; ac yr wyf yn credu i mi fy hunan fod mor fywiog yn gwneyd busnes hefo nhw a neb, trwy fod genyf oddeutu haner bwsiel o gregyn o'r fath brydferthaf; ac hefyd (*canoe*) cwch wedi ei addurno a chregyn tlysion. Cefais hefyd wahanol ffrwythau, megys *bananas*, &c. Nid oes genyf un math o enw ar haner y pethau a dderbyniais. Cefais un ffrwyth tra hynod yr olwg allanol, ond y mae yn debyg i'r *banánas*. Wedi profi hwn deallais ei fod fel tân ysol i'r genau, a thrwy mai y fi fy hunan oedd yr anffodus cyntaf i'w brofi, meddyliais y byddai i fy ngheg fyn'd ar dan; ond ni ddywedais air yn eu cylch wrth neb o'm cyfeillion, a rhoddais un i bob un o'r teithwyr oedd ar yr agerlong, ac yn fuan yr oedd y rhan fwyaf o honynt wedi rhuthro yn anystyriol i'w bwyta fel fy hunan, a chanfyddasant eu bod yn yr un cyflwr ag yr oeddwn inau.

Er cymaint y boen a ddyoddefasom mewn

canlyniad i'r ffrwyth hynod hwnw a gawsom gan frodorion un o'r Navigator's Islands, nis gallem lai na chwerthin yn galonog tra ar yr un pryd yn teimlo chwant i ddial ein cam. Dylaswn ddweyd fod un o bob cwch o'r brodorion wedi dyfod ar fwrdd yr agerlong, sef tua haner cant mewn nifer, ac yno yr arosasant am tua thair awr. Hyd yn nod pan chwibanodd y peiriant ac y canodd y gloch, fel rhybudd iddynt ein bod ar gychwyn, yr oeddynt mor awyddus i fasnachu â ni, fel y diystyrasant bob arwydd. Pa fodd bynag, wedi i'r agerlong gychwyn, neidiodd y rhan fwyaf o honynt dros yr ochr i'r mor; ond daliodd rhai, ac yn eu plith y dyn gwyn, yn gyndyn hyd nes yr oeddym rai milltiroedd oddiwrth y tir, pryd y llamasant hwythau oll i'r mor, gyda'u bwndeli dillad wedi eu rhwymo ar eu cefnau, gan nofio ar frigau y tonau fel adar dwfr. Enw brodorol yr ynys hon oedd Nind; ond galwyd hi gan Captain Cook yn Savage Island, o herwydd i'r trigolion ymosod arno fel bwystfilod rheibus. Eu harfer oedd rhoddi i farwolaeth forwyr a phob dyeithriaid a lanient yn yr ynys; ond trwy addysg y cenadon efengylaidd y mae cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle yn eu harferion a'u defodau; ac y mae yn hysbys yn awr mai ofn, yn fwy

na dim arall, a barai iddynt ymddwyn mor greulawn yn yr hen amser gynt. Tybient fod eu hynys yn lân oddiwrth bob aflendid a chlefydon, ac mai glaniad tramorwyr oedd yr achos o bob afiechyd a heintiau.

Pan dalodd Mr. John Williams ymweliad a'r ynys hon, llwyddodd i gael dau lanc ieuanc i fyned ymaith gydag ef, y rhai a addysgwyd i fod yn athrawon. Ar y cyntaf yr oeddynt yn hynod o aflonydd ac anghysurus ar fwrdd y llong, a gwaeddent yn erchyll, o dan y dybiaeth mai y bwriad oedd eu lladd a'u bwyta; ond wedi canfod mai cig moch a fwytai y morwyr, darfu iddynt ymdawelu a boddloni i'r canlyniad. Yn fuan, yr oeddynt yn teimlo yn falch eu bod yn cael eu cymeryd i weled gwlad newydd. Glaniwyd hwy yn Raratonga, ac ar ol cyraedd gradd helaeth o ddysgeidiaeth, anfonwyd hwy adref; ond yn anffodus, yn fuan wedi iddynt lanio, torodd haint allan ar yr ynys; a chan fod eu cydfrodorion yn meddwl mai hwy fuont yn foddion i'w drosglwyddo yno, lladdwyd hwy yn ddiatreg. O ran lliw, y mae pobl yr ynys yn debyg i'r Kanakas, ond y maent yn gryfach dynion.

Oddeutu ugain mlynedd ar ol i Columbus ddarganfod America, yr oedd Vasco Nunez de Balboa yn sefyll ar ben mynydd yn Nghuldir

Darien, ac yn syn-fyfyrio, ac yn syllu ar y môr mawr oedd rhyngddo a machlud haul, gan deimlo yn awyddus am wybod beth allai fod yn mhellach i'r cyfeiriad hwnw. Prin y meddyliai ei fod yn edrych ar fôr oedd yn cyraedd o amgylch y byd, a bod rhwng y Cape of Good Hope a'r lle y safai filoedd o ynysoedd llawn cymaint a theyrnasoedd yr hen fyd, ac yn enwedig un o honynt, nad yw ond ychydig yn llai mewn maintioli na'r oll o wledydd Ewrop gyda'u gilydd.

Cynwysa ynysoedd Polynesia yr holl rai sydd i'w cael am 50 gradd hydred, ac o ledred 50 yn y de i 30 yn y gogledd o'r cyhydedd. Mesura y môr a'u cynwysa saith mil o filldiroedd un ffordd, a thua pum' mil a saith gant y ffordd arall; ac o herwydd eu sefyllfa mae y rhan fwyaf o honynt yn ynysoedd tra ffrwythlawn, yn meddu hinsoddau iach, daear fras, coedwigoedd gwyrddion, a'r llysiau a'r blodau mwyaf dymunol, fel y mae y golygfeydd prydferthaf i'w cael ynddynt trwy y flwyddyn. Mae tir y rhan fwyaf o'r ynysoedd yn ddigon cynyrchiol i gadw y trigolion heb weithio ond bron fel y mynont. Mae y coed sydd yn tyfu bara arnynt yn dod a digon o ymborth iddynt heb na gofal na thrallod; a bron yn ddieithriad mae digon o bysgod o bob

math i'w cael gyda glanau y môr yn hynod ddidrafferth, fel nad yw ond pleser ganddynt eu dal. Ond y mae bron yr oll o ynysoedd y Tawelfor wedi eu haflonyddu gan ddaear grynfâau.

Gyda golwg ar y trigianwyr, ymddengys fod dau fath o honynt, un yn debyg i'r Negro, a'r llall yn debyg i'r Malay o'r Malay Peninsula. Credir gan y rhan fwyaf o'r dysgedigion mai cangen o'r Malays ydyw brodorion y Sandwich Islands, a'r rhan fwyaf o drigolion ynysoedd Môr y De. Ond o ran fy hunan nid wyf yn gweled ganddynt fawr o reswm dros ddweyd hyny; ac heblaw hyny y maent yn dweyd mai cangen o'r Malays ydyw y brodorion â lliw melyn goleu arnynt, mewn ynysoedd yn Môr yr India, sef yr Hovas yn Madagascar, a brodorion y Comro Islands, &c. Nid yw gwlad y Malays ond un fechan mewn cymhariaeth; ac, yn ol eu hanes, nid oes fawr o ddim wedi bod yn anturiaethus ynddynt ar fôr na thir. Felly trwy fod yr ynysoedd dan sylw wedi cael eu poblogi cyn hanesyddiaeth, nid oes un math o sicrwydd am darddiad trigolion ynysoedd Môr y De.

Mae y Sandwich Islands, fel y galwyd hwy gan Cadben Cook, er anrhydedd i'r Earl of Sandwich, yr hwn oedd ar y pryd yn *First*

*Lord of Admiralty*, yn gorwedd rhwng lledred 18 a 22, a chyfrifir fod deg o honynt yn gwneyd i fyny y *group*. Mae y pellder o Mexico yn y dwyrain yn 2,800 milldir, a thua 5,000 o filldiroedd i China yn y gorllewin, a 2,700 milldir o'r Society Islands. Yn y De, Hawaii yw y fwyaf deheuol a'r fwyaf o'r deg, a mesura tua 97 milldir o hyd wrth 78 o led, a chynwysai pan ddarganfyddwyd hi gan Ewropiaid, dros 85,000 o drigolion. Cyfrifir y Sandwich Islands fel calon y Tawelfor, o herwydd eu bod yn dal yr un cysylltiad i ranau eraill o'r Tawelfor ag ydyw y galon i'r gweddill o'r corff dynol—hyny mewn amryw ystyriaethau.

Yn 1778 yr ymddangosodd llongau Cadben Cook ar ddyfroedd gloewon Bay of Kalakukua; derbyniodd y brodorion ef ar ei laniad fel pe buasai yn Dduw, gan gredu mai Duw ydoedd. Ond er y cwbl dyma lle y llofruddiwyd y gwr anturiaethus a byd-enwog hwnw. "Mae yn gruddfan, nis gall fod yn Dduw," meddai y brodorion, pan yn ei ddylyn gan ei fflangellu, pan yr oedd yn amcanu dianc at y cwch.

Addoli delwau yr oeddynt y pryd hwnw, fel y maent i raddau hyd yn hyn, ac ymddengys fod yn anhawdd eu troi o hen ddull

2*

eu tadau o addoli. Y duw mwyaf ofnadwy ac effeithiol yn eu tyb oedd y mynydd tanllyd a elwir Sua Pele. Credant mai eu duwiau oedd yn byw yno, ac mai y twrw a glywir mor aml yn ei grombil oedd swn eu duwiau yn dawnsio. Mae ganddynt wahanol dduwiau i gyfarfod â gwahanol amgylchiadau.



DUW RHYFEL.

Ganwyd David Kalakaua, brenin presenol yr ynysoedd Hawaiian, Tachwedd 18, 1836. Mae yn fab i'r diweddar Kapaakea; felly y mae o darddiad uchel, ac o hil breninol. Mae

wedi derbyn dysgeidiaeth dda yn y *Royal School*, ac mae wedi bod yn dal swyddi uchel, y rhai a roddodd iddo gyfleusdra ardderchog i chwilio am wybodaeth eang mewn cyfreithiau gwladyddol, &c., ac yn ei gymwyso i fod



DUW POEN.

yn Frenin ar ei wlad enedigol. Cyrhaeddodd y Brenin hwn Washington, Rhagfyr 12, 1875, a derbyniodd bob caredigrwydd oddiar law yr Arlywydd Grant, y Cad. Sherman, a'r Morlyngesydd Porter. Ymwelodd yr amser hwnw â phrif ddinasoedd America, ac yn mhob man cafodd dderbyniad ardderchog. Ar yr adeg

bresenol, sef Hydref, 1881, mae yn cael croesaw mawr gan yr Arlywydd Arthur a'i gyfeillion, yn Washington, tra ar ei ffordd adref. Bu ar daith oddiamgylch y byd, a chafodd dderbyniad tywysogaidd yn mhob man. Gwelir ei arlun ar y tu dalen canlynol.

Y Brenin fu yn teyrnasu o'i flaen oedd Lunalilo, neu "Prince Bill," fel y gelwid ef gan y mwyafrif—dyn hollol ddifeddwl a diofal, ond caredig a digrifol. Bu farw yn 1874.

Honolulu ydyw prif dref y Sandwich Islands, ac yno mae y prif borthladd. Mae ei sefyllfa, ar y rhan fwyaf deheuol o Oahu, yn ei gwneyd fel nad oes ond ychydig borthladdoedd yn meddu ei chyfleusderau masnachol. Ar yr adeg bresenol mae llawer iawn o bobl California a lleoedd eraill yn ymfudo i'r Sandwich Islands; a hefyd mae amryw o Gymry yn eu plith. Crefftwyr yw y mwyafrif o honynt. Amcan yr Americaniaid a gyrchant yno yw codi siwgr a choffi ar raddfa helaeth, ac y maent yn llwyddo tu hwnt i ddysgwyliad. Trwy fod y Llywodraeth yn rhoddi derbyniad croesawgar i'r Chineaid, y mae miloedd lawer o honynt wedi sefydlu ar yr ynys, ac felly y mae masnach â'r boblogaeth yn cynyddu.

Mae llawer o hanesion rhyfedd am yr ynys-

oedd hyn yn y Tawelfor, yn enwedig y Fiji, Friendly Islands, a'r Society *groups*; ac y maent oll yn dangos cynydd mawr mewn gwareiddiad mewn cymhariaeth i'r hyn oedd-ynt flynyddau yn ol, yn enwedig ynys Tahiti, yr hon sydd yn awr dan lywodraeth Ffrainc. Er y bu anghydfod dialgar dros amser maith rhwng y cenadon Pabaidd Ffrengig a'r cenadon Seisonig, dywedir fod y genadaeth wedi bod yn llwyddiant perffaith, i wneyd daioni masnachol yn gystal ag ysbrydol. Poblogaeth Tahiti sydd fel y canlyn: Brodorion, 8,000: Ffrancod, 130; Saeson, 263; Americaniaid, 144; Ewropiaid eraill, 86; a 406 o Chineaid. Pan laniodd llong genadol gyntaf yn Tongataboo, cawsant fod yno Sais o Lundain, a Gwyddel o Cork, y ddau yn ddrwg-weithredwyr o New South Wales, Australia.

Y Fiji *group* yw yr ynysoedd sydd yn gorwedd rhwng lledred 15 a 20 yn ddeheuol, a hydred 177 a 173 yn orllewinol; ac y mae 225 o ynysoedd yn y clwsdwr. Y maent yn meddu porthladdoedd cysgodol rhag pob tymestloedd; a dywedir fod *docks* naturiol, o waith natur yma, a digon o ddwfr ar bob adeg i'r llongau mwyaf nofio ynddynt, a bod yn hollol ddiogel. Er fod eu sefyllfa mor agos i'r cyhydedd, nid ydynt yn annyoddefol boeth, nac

yn afiach chwaith, a hyny o herwydd yr awel sydd yn codi oddiar y môr llydan a'u hamgylcha. Nid oes dim gwybodaeth sicr am darddiad y trigolion, ond y maent yn hollol wahanol i'r Malays, ac i holl frodorion yr ynysoedd eraill yn y Tawelfor. Eithr credir yn gyffredinol na fu iddynt drigianu mewn un ynys na gwlad arall, ac felly mai brodorion ydynt yn ngwir ystyr y gair. Mae hanes y Fijiaid yn dangos iddynt fod yn fwy anwaraidd na thrigolion yr un o'r ynysoedd eraill; ïe, yn fwy felly na neb arall yn y byd, o herwydd mai hwy ydyw y dyn-fwytawyr gwaethaf mewn hanesyddiaeth. Yr oeddynt yn ymfalchio yn hyny, a chyfrifant eu hunain yn well na'u cymydogion yn yr ynysoedd eraill o herwydd hyny. Bwytant gyrff dynol yn fwyaf cyffredin pan yn gwneyd temlau neu gwch, neu pan yn cymeryd hwylbren y cwch i lawr. Mae hanes am y penaethiaid yn lladd dynion, ac yn eu gosod fel *rollers* dan gychod wrth eu gyru i'r dwfr, ac wedi hyny yn eu bwyta.

Yn 1858, cafodd dyn o New York, o'r enw Homer, a dau o'i gyfeillion, eu lladd a'u bwyta gan y Fijiaid, a daeth hyny i glustiau Llywodraeth y Talaethau Unedig, ac anfonwyd y llong ryfel *Vandalia* yno, yr hon a ddinystriodd amryw o'u pentrefydd yn ddiatreg. Y

maent yn enwog am bob math o greulonderau. Mae yn wir fod y *Samoans*, a thrigolion rhai o'r ynysoedd eraill, wedi bod yn bwyta dynion; eithr mae yn ymddangos nad oeddynt yn gwneyd hyny ond fel dialedd neu anmharch, mewn natur ddrwg; ond yr oedd y Fijiaid yn hoffi bwyta dynion bob amser; eithr creda y cenadon a lafuriant yno yn awr, y bydd hyny yn fuan wedi cael ei atal drwy yr holl ynysoedd.

Mae cnawd-frithiad, neu wneyd lluniau ar y cnawd â lliw annileadwy, a elwir *tattooing*, yn beth cyffredin yn yr ynysoedd Fiji, fel yn holl ynysoedd Môr y De. Mae trigolion New Zealand yn cnawd-liwio yn fwyaf mynych am y canol; ond y mae blaenoriaid yr ynysoedd Fiji yn hoffi cael lliwio yr holl gorff drosto, ac ni chyfrifant eu hunain yn ddynion nac yn filwyr os na byddant wedi gwneyd hyny, er mor ofnadwy yw y dyoddefiadau poenus, fel y gellir barnu oddiwrth y darluniau canlynol.

Brawd a chwaer o Tahiti yw y rhai canlynol. Mae gwaith celfyddyd i'w weled arnynt, a chymer flwyddyn neu ddwy cyn y cwblheir cnawd-liwio dyn neu ddynes, er i'r gwaith gael ei gario yn mlaen yn barhaus.

Yn Samoa mae eu dull o gnawd-fritho fel hyn: Ar ol gwneyd pob peth yn barod,

rhoddant y penaeth, neu pwy bynag fydd y gwrthddrych, i orwedd ar y ddaear, gan roddi ei ben ar liniau ei chwaer, neu ryw chwaer arall os na fydd ganddo ef un, ac yna bydd tair neu bedair eraill yn dal ei goesau, yna dechreuant ganu, er mwyn llarieiddio ei boen, ac heblaw hyny i foddi ei ruddfanau; o herwydd cyfrifir y person, os wedi tyfu yn ddyn, yn fachgenaidd ac yn llwfr os bydd iddo gwyno a thuchan o dan y driniaeth, er mor anhawdd yw peidio. Wedi cychwyn canu, dechreua y crefftwr ar ei waith trwy guro math o grib i'w gnawd gyda gordd fechan, yn y modd mwyaf cyflym a medrus. Wrth ei ochr mae amryw o'r merched yn sychu y gwaed gyda math o lian gwyn er mwyn cadw y croen yn lân. Cydrhwng pob dau neu dri o ergydion mae danedd y crib yn cael eu taro mewn math o inc, yr hwn sydd wedi ei gymysgu â dwfr; ond nid oes neb braidd yn gallu dyoddef mwy nag ychydig fodfeddi ar unwaith, a llawer yn ei gael mor ofnadwy o boenus, fel y maent yn cadw yn mhell draw byth ar ol y tro cyntaf; ond edrychir yn isel arnynt gan bawb. Beth bynag, pan y gorphenir y gwaith, maent yn edrych yn debyg fel pe baent wedi ymwisgo, ac mae bron yn gwneyd y tro yn lle dillad; ac wedi ymarferyd â hwy mae y croen sydd heb

y *tattoo* yn ymddangos yn annymunol hyd yn nod i Ewropiad. Rhywbeth tebyg, ond ar raddau llai oedd "*picto*" yr hen Frytaniaid, y Gauls a'r Gwyddelod yn yr hen amser. Mae y *tattooing* yn cael ei gario yn mlaen yn holl ynysoedd y Tawelfor, a gwledydd ac ynysoedd eraill hefyd i raddau mwy neu lai; ond dywed y cenadon fod brodorion ynysoedd Marquesas yn fwy felly yn gyffredinol nag yn un man arall. Maent hwy yn eillio eu gwallt er mwyn cael y *tattoo* dros y pen hefyd; ac mae hyd yn nod ewinedd eu traed a'u dwylaw yn llawn o'r *tattoo*, fel y mae yr olwg arnynt yn rhyfedd iawn.

Yn 1874 cymerodd Prydain Fawr yr ynysoedd Fiji dan ei haden. Mae rhanau o honynt yn llwyddo, a llawer iawn o'r Prydeinwyr wedi ymfudo yno o Ceylon a manau eraill, i dyfu siwgr a choffi; ac y maent yn cael y tir yn hynod ffafriol i godi coffi, ac yn llwyddo yn gyflym; a chredir mai dyma y lle goreu yn y byd am dyfu coffi yn bresenol.

## PENNOD II.

*Cyraedd New Zealand—Glanio yn Auckland—Desgrifiad o'r ddinas—Ymweliad cyntaf Tasman a Capten Cook a'r lle—Maintioli a chynydd y drefedigoeth—Y brodorion yn graddol ddiflanu—Hinsawdd iachusol y wlad—Gwareiddiad y brodorion—Credoau hynod—Mordaith i Australia—Glanio yn Sydney a chyfarfod hen gyfeillion—Y Cymry a'u haddoliadau—Tafarndai a meddwdod—Darganfyddiad a chynydd New South Wales—Ei maintioli a'i chyfoeth mwnawl—Mordaith i Melbourne—Difyrwch y daith—Cymry Melbourne—Maintioli a phrydferthwch y ddinas fwyaf yn yr Arddrych Deheuol, &c.*

Ar ol mordaith bur gysurus, gwelsom dir New Zealand ar y 4ydd o Ragfyr, a chyraeddasom Auckland yn y prydnawn. Ni welais gynifer o bobl erioed yn dysgwyl glaniad agerlong. Yr oedd yr holl dref o'r bron ar lan y môr, ac yr oedd yr olwg arnynt yn dwyn i'm cof olygfeydd yn Nghymru. Yn wir, y mae y bobl yn sefyll at ddulliau yr Hen Wlad, fel mae Auckland, New Zealand, fel Victoria, British Columbia, yn hollol wahanol i drefydd

y Talaethau Unedig, ac y mae y trigolion yn gwisgo yn dra gwahanol. Nid yw y merched yn pinio eu dillad o'r tu ol, ac o ran ymddangosiad nid ydynt mor brydferth a merched Americanaidd. Mae Auckland yn lle tlws, ond credwyf ei fod yn ymddangos yn well o'r bau nag un lle arall. Y brif heol yw Queen Street, ac y mae pont bren yn dyfod o honi i'r fan y glania agerlongau. Mae dull yr adeiladau rhwng yr arddull Seisnig a'r Americanaid; ac yn y cyffredin y maent yn hynod brydferth, wedi eu gwneyd o geryg a phriddfeini gan mwyaf, a'u toi â llechi, fel yn Nghymru. Yr oedd yr amser hwnw gryn lawer o adeiladau newyddion yn cael eu codi; a deallwyf fod yno ddigon o waith i grefftwyr am gyflog o tua 10 swllt y dydd; ond a chymeryd New Zealand yn y cyfanswm o honi, gellir dweyd mai marwaidd yw pethau yno, ac y mae ymfudiaeth wedi lleihau i raddau mawr. Dysgwylir, pa fodd bynag, y bydd i'r Parliament wneyd rhywbeth i ddwyn oddiamgylch adfywiad mewn gwahanol gylchoedd masnachol.

Ymwelwyd â New Zealand gyntaf gan y Mor-lywydd Ellmynaidd Tasman, yn 1642; ac wedi hyny gan y nodedig Capten Cook yn 1769, yr hwn a wnaeth archwiliad tra chywir ar y lle, ac a fesurodd y tir yn fwy cywir na

neb arall; ac mae morwyr yr oes bresenol yn dibynu mwy ar ei waith ef nag ar fesuriad neb arall. Mae hyn yn profi fod dysgeidiaeth a medrusrwydd yr anturiaethwr beiddgar hwnw o'r radd uchaf.

Cynwysa New Zealand dair o ynysoedd sef yr Ogleddol, y Ganolog a'r Ddeheuol, neu Stewart Island; ac mae hyd y tair yn nghyd yn fil o filltiroedd. Hefyd y maent oddeutu dau gan' milltir o led; a chynwysant 102,000 o filltiroedd ysgwar mewn arwynebedd. Cyfrifir fod dwy ran o dair o'r arwynebedd yn dir y gellir ei amaethu. Mae yr Ynys Ogleddol yn cynwys 44,000 o filltiroedd ysgwar, yr Ynys Ganol, 57,000 o filltiroedd ysgwar, ac Ynys Stewart yn 1,000 o filltiroedd ysgwar mewn arwynebedd. Nid oes yn hon ond ychydig o breswylwyr. Yn 1840 y corfforwyd New Zealand yn drefedigaeth; ac yn 1851 y cymerwyd y ddeiliadeb gyntaf, pryd y caed fod yno 26,707 o bobl, heb gyfrif y brodorion. Cyfrifwyd y bobl y tro nesaf yn 1876, a chaed fod y boblogaeth yn rhifo 399,095; ac yr oedd o'r nifer yna 4,900 yn frodorion o China. Ar adeg y cyfrifiad uchod yr oedd yn New Zealand bedair o ddinasoedd yn cynwys dros 10,000 o bobl, sef Dunedin gyda 18,499 o bobl; Auckland gyda 12,775; Wellington,

gyda 10,547; Christchurch, gyda 10,294 o drigolion. Erbyn hyn y mae pobl y dinasoedd uchod, yn gystal a thrigolion yr holl wlad wedi cynyddu yn ddirfawr.

Mae y Maories, sef brodorion y wlad, yn myned yn llai eu nifer bob blwyddyn, fel brodorion pob ynys a gwlad arall a feddianir gan Ewropiaid. Yn 1858 yr oedd rhifedi y brodorion gwreiddiol yn yr oll o New Zealand, yn 55,970, o'r rhai yr oedd 31,667 yn ddynion a 24,303 yn ferched; a phan gyfrifwyd hwy yn 1874 nid oeddynt yn rhifo ond 45,470. Gwelir felly fod brodorion New Zealand wedi lleihau rhwng 1858 ac 1874, 10,500. Dengys hyn yn nghyd a'r ffaith fod brodorion Tasmania a llawer o fanau eraill wedi diflanu yn gyfangwbl er ys blynyddau, nad yw y brodorion yn gallu cyd-fyw gyda phobl wynion.

Cyfrifir New Zealand gan lawer yn un o'r gwledydd mwyaf dymunol ei hinsawdd, ac iachusaf yn yr holl fyd; ac mae yn meddu tir bras a phob math o fwnau mewn cyflawnder. Yn 1875 yr oedd 49,152 o bobl yn gweithio yn yr aurgloddiau; 4,818 o honynt yn frodorion o China, yn cynwys dwy ferch. Rhwng Ebrill, 1857 a diwedd y flwyddyn 1874, codwyd yno 7,599,973 owns o aur, yr hwn a

werthwyd am £29,577,016. Anfonir llawer o wenith, corn a nwyddau o wahanol fathau i Brydain Fawr yn flynyddol. Yn 1875 yr oedd yn New Zealand 99,859 o geffylau; 494,917 o wartheg, a 11,704,853 o ddefaid.

Y mae amryw filoedd o filldirodd o reilffyrdd wedi cael eu gwneuthur yno eisoes gan y llywodraeth, drwy y rhai y cysylltir y prif drefi a'u gilydd. Ond wedi y cyfan, nid yw cynydd New Zealand, yn y cyfanswm o honi, ond hynod araf, ac ar yr adeg bresenol nid yw y boblogaeth, a gadael allan y brodorion, ond ychydig dros 500,000, yr hyn a ddengys gynydd llawer llai na'r trefedigaethau eraill yn Australasia, yn enwedig pan ystyrir fod cymaint o gymorth yn cael ei roddi i sefydlwyr gan y llywodraeth, yn nghyd ag iachusrwydd a dymunoldeb y wlad. Yn ol pob rhagolygon gellir dysgwyl cynydd mwy cyflym yno yn y dyfodol.

Gellir cydmaru y Maories mewn llawer o bethau i'r Fijiaid, ac yn enwedig i'r dynfwytawyr. Mewn llawer o wledydd ac ynysoedd, peth eithriadol yw dyn-fwyta; eithr yn New Zealand, fel yn Neam Nan, Affrica, yr oedd yn beth cyffredin. Ond er fod y Maories wedi dal yn hwy yn erbyn dylanwad gwareiddiad nag y gwnaeth brodorion unrhyw le

arall yn y byd, y maent erbyn hyn wedi diwygio i raddau mawr, fel nad oes yn bresenol ond ychydig o ddyn-fwyta yn unrhyw barth o New Zealand; a bernir gan y cenadon y llwyr ddiddymir yr arferiad gwrthun yn fuan. Gellir dweyd hefyd fod lluaws o'r brodorion wedi dringo i enwogrwydd fel ysgolheigion a meddylwyr galluog, mewn gwahanol gangenau gwybodaeth. Nid yw y Maories yn credu mewn magu plant afiach; pan fydd rhyw anaf arnynt, fyddo yn debyg o beri poen neu drallod iddynt dros ei hoes, rhoddir hwy i farwolaeth yn eu babandod, gan y credant fod hyny yn fyw o drugaredd a hwy na'u gadael i fyw oes afiach a phoenus. Mae gan y brodorion hyn lawer o gredoau a defodau hynod o'r fath; ond gan nad oes lle i fanylu, rhaid eu gadael. Dengys hanes eu rhyfeloedd yn yr amser aeth heibio, eu bod yn wrol a chyfrwys, ac yn ol eu manteision yn rhyfelwyr heb eu hail. Mae *tattooing* yn beth cyffredin yn New Zealand.

Ar ol dadlwytho cryn lawer o nwyddau, a chymeryd amryw o bethau eraill ar y bwrdd, cychwynasom o Auckland ddydd Llun, gan fordeithio braidd o hyd yn ngolwg tir am bedair awr ar hugain, nes myned heibio y Three Kings, ac yr hwyliasom i'r gorllewin tua Syd-

ney. Ni ddygwyddodd dim neillduol i ni hyd y nos Sadwrn canlynol, pryd y cododd yn ystorm enbyd, gan beri i'r *Macgregor* ymrolio yn erchyll, fel nas gallai neb gysgu. Yn foreu dranoeth, daeth Australia i'r golwg, ar ol mordaith o 33 o ddyddiau o San Francisco, ac yn fuan yr oedd y pilot ar y bwrdd, yn ein harwain heibio Wooloomooloo, a lleoedd prydferth eraill ar y glanau.

Yn fuan ar ol angori yn mhorthladd Sydney, daeth pedwar o'm hen gyfeillion mewn cwch i chwilio am danaf, ac aethym i a thri eraill i'r lan gyda hwynt. Mae Sydney yn lle prydferth, ac y mae yma barciau a gerddi ysblenydd, ac adeiladau ardderchog. Yr oeddwn yn credu fod yno well lle i weithwyr o bob math nag yn y Talaethau Unedig, ar yr amser hwnw. Gallai crefftwyr gael gwaith yn hollol ddidrafferth, ac nid ydynt yn gweithio ond wyth awr. Telir i'r carpenters, y gofaint, &c,, o 8s. i 12s. y dydd; ac nid yw y *boarding* yn ddrutach nag yw yn America. Gall dyn priod fyw yn rhatach yno nag yn America. Yr oedd llawer o ymfudo i Queensland; ond cwyno yr oedd pawb a welais i oddiyno o herwydd poethder yr hin ac afiechyd y wlad.

Yn ystod y deng niwrnod y bum yn Sydney, cefais gyfle i dalu ymweliad ag amryw o wa-

hanol leoedd o ddyddordeb; a rhaid i mi ddweyd fod Sydney yn dref hardd iawn, ar gyfrif ei gerddi a'i pharciau ysblenydd, yn gystal a'i hadeiladau gwychion. Lleoedd tlysion iawn ydynt y Manley Beach a'r Botany Bay, ychydig bellder o Sydney, ar lan y mor, lle y cynelir *picnics* ac y cyrcha ymwelwyr o bob parth yn ystod y tymor haf. Mae Botany Bay yn hynod i ddyeithriaid am mai yno y glaniodd y darganfyddwr enwog Capten Cook, i'r hwn y mae cofgolofn wedi ei chodi yno. Yr oedd cofgolofn hardd yn cael ei hadeiladu er coffadwriaeth am dano hefyd yn Sydney.

Cefais bobl Sydney yn hynod gyfeillgar a charedig—yn llawer mwy felly na phobl dinasoedd yn gyffredin; ac o ran eu harferion a'u dulliau, ymdebygant i bobl yr "Hen Wlad." Maent yn dra hoff o fwynhau eu hunain mewn pob dull cyfreithlawn; gellir dweyd hwyrach eu bod yn byw i bleser, yn gymaint ag y mae yr Americaniaid yn byw i fasnachu. George street yw enw y brif heol, yr hon sydd ar bob awr o'r dydd yn llawn o bobl. Ar yr heol hon y mae y Post Office a'r Town Hall, y rhai ydynt adeiladau cedyrn a chyfleus. Yr oedd llawer o adeiladu yn Sydney a'r amgylchoedd yr amser hwnw; a honir fod y boblogaeth eisoes yn 185,000.

Na feddylied neb oddiwrth yr hyn a ddywedwyd am y trigolion, fod pob peth yn hyfryd a chanmoladwy yn y dref. Na, y mae ochr dywell yno hefyd; ac yn wir, mae yn rhaid i mi gyfaddef mai dyma lle y gwelais ddynolaeth wedi syrthio i'r pyllau dyfnaf o lygredigaeth. Yr oedd meddwdod yn warthus o uchel ei ben yno, nid yn unig yn mhlith dynion, ond hefyd yn mhlith y rhyw fenywaidd. Nid gormodiaeth, am wn i, yw dweyd fod bron gynifer o ferched yn mynychu y *saloons*, ac yn yfed yn anghymedrol ag sydd o ddynion. Merched, hefyd, fel peth cyffredin, a gyflogir i werthu diodydd yn y *bar-rooms* yn Sydney, ac o ran hyny, yn mhob tref yn Australia. Bum yn y *police court* yno un boreu, a gwelais tua haner cant o rai a gymerasid i'r carchar yn feddw ac afreolus y noson flaenorol, ac o honynt yr oedd tua'r haner yn perthyn i'r rhyw fenywaidd. Gyda'u cleisiau a'u llygaid duon, ni welais olwg mwy truenus ar nifer o bobl yn un man erioed. Ni ddywed yr heddgeidwaid un gair wrth feddwon, os na fyddant yn achosi cynwrf anarferol; ac yn hyn, gwel Americanwr fwy o ryddid yn Australia nag yn ei wlad ei hun. Dywed pobl dda Sydney mai "brid yr hen goesau" sydd yn gosod eu hunain mor isel, gan olygu wrth

hyny y rhai a gawsant eu halltudio o'r fam wlad. Dichon fod gwir yn hyny; ond beth bynag y mae yn llawer haws llithro i'r drwg hwn yn Australia nag yn America, trwy fod y temtasiynau yn llawer mwy yn y tafarndai yno nag yn y *saloons* yn America.

Ni chefais fantais i ymgydnabyddu ag ond ychydig o'r Cymry, er i mi fod ddwy waith yn y capel neu y neuadd lle y cynelir cyfarfodydd Cymreig. Yr oedd yn lled ddiweddar pan aethym yno un boreu, ond canfyddais fod yno ddigon o le; yr holl nifer yn bresenol oedd wyth, a chyfrif y pregethwr. Ac yn yr hwyr nid oedd yno ond 18, yr hyn a'm siomodd yn fawr, yn enwedig gan i mi ddarllen mewn rhyw newyddiadur eu bod yn son am adeiladu capel yno. Pur ddifywyd oeddynt hefyd; ac nid oedd yno neb i "godi canu" yn briodol. Y boreu yr aethym yno gyntaf, yr oeddynt yn ceisio canu rhyw benill, ar dôn ddau nodyn yn fyr i ateb i'r silliau, yn mhob llinell. Cefais gyfle i ymddyddan a'r Parch. Mr. Hughes, a gofyn am eglurhad ar yr olwg lwydaidd oedd i'w ganfod ar yr achos; a dywedodd ef fod llawer o Gymry yn y dref, nad oeddynt braidd byth yn presenoli eu hunain yn yr addoliad Cymreig; ac yr oedd llawer o'r cyfryw yn ddynion arianol a chyfrifol iawn.

Buont yn son am adeiladu capel, ac yr oedd rhai o Gymry cyfoethog Sydney a'r amgylchoedd wedi addaw cyfranu yn haelionus—un £200 ac arall £150, &c.; ond gan nad oedd y cyfryw yn addaw rhoddi eu presenoldeb yn yr addoliad, o herwydd eu bod yn aelodau mewn eglwysi Seisnig, daethpwyd i'r penderfyniad i aros ychydig eto cyn penderfynu derbyn y cynygion. Fy meddwl i yw, mai marw a wna yr achos Cymreig yno; a chredwyf hefyd mai gadael iddo farw fydd oreu, os na ellir creu rhyw fywyd newydd ynddo. Dywedir fod digon o Gymry yn Sydney i lenwi addoldy eang; ond y maent yn amddifaid o dân Cymreig yn eu calonau. Y mae yn wir hefyd fod rhai o honynt yn teimlo yn rhy uchel i arddel eu perthynas a'r Cymry; tra y mae eraill wedi syrthio i gyflwr rhy isel i haeddu parch eu cydgenedl.

Gelwais ddwy waith neu dair yn y dafarn Gymreig, yr hon a gedwir gan un Mrs. Jenkins. Y mae yr olwg allanol ar y ty yn eithaf; ond nis gallaf frolio dim ar y tu mewn iddo; a gallwn i dybio fod rhai o'r "hen goesau" yn arfer mynychu y lle; canys collodd Mrs. Jenkins un diwrnod, £100 o'i bocs. Daliwyd y lleidr yn fuan, ond nid oeddynt wedi cael dim o'r arian pan oeddwn i yn ymadael. Cef-

ais y fraint o gyfarfod a Chymry parchus a boneddigaidd yn Sydney; un o'r rhai yw S. H. Jones, cyfreithiwr, yr hwn, er mai genedigol yw o Liverpool, sydd yn gallu parablu yr hen iaith yn lled dda.

Pan yn gadael Sydney, tua chwech o'r gloch yn yr hwyr, daeth amryw gyfeillion i'm hebrwng ar fwrdd yr agerlong, *City of Adelaide*, ac yno ysgydwasom ddwylaw yn ol yr hen ffasiwn Gymreig. Yn fuan yr oeddym yn nghanol y bau, ac mewn lle manteisiol i weled rhai o'r prif adeiladau, ac yn eu plith y Government House, yr hwn sydd yn adeilad hardd wrth ben y bau, yn cael ei amgylchynu gan erddi dymunol. Yn mhen ychydig fynydau daethom i olwg Wooloomooloo, ac yn fuan cyrhaeddasom y Sydney Heads, lle yr aeth y llong *Dunbar* yn ddrylliau tra ar ei thaith o Brydain, ac y collwyd dros bedwar cant o fywydau— amgylchiad torcalonus iawn —boddi yn ymyl y porthladd, ar ol ymladd yn llwyddianus a holl nerthoedd y weilgi dymhestlog.

Darganfyddwyd Australia gan Cadben Cook, yn 1770, a dechreuodd llywodraeth Lloegr anfon ei drwg-weithredwyr i New South Wales yn 1788; a'r amser hwnw anfonwyd yno 565 o ddynion, a 192 o ferched. Yr

oedd y rhai hyny wedi eu condemnio i benyd lafur am eu hoes. Yr oedd trefedigaeth New South Wales y pryd hwnw yn cymeryd i mewn yr holl diriogaeth o Cape York, yn gyfochrog i 10° 37′ o raddau, lledred ddeheuol, i'r South Cape, yn lledred 43° 29′ o raddau yn ddeheuol. Hefyd yr oedd yn cymeryd i mewn yr oll o'r ynysoedd yn y Tawelfor yn y lledred uchod. Yn 1836 cymerwyd rhan fawr o dir oddiar New South Wales, a adnabyddir yn awr wrth yr enw South Australia; ac yn 1846 cymerwyd darn arall a elwir yn bresenol Victoria. Eto, yn 1851 tynwyd rhan arall oddiwrthi, yr hon sydd yn gwneyd i fyny Queensland. Oddiwrth yr uchod gwelir fod New South Wales, fel y gelwir hi, am ei bod yn debyg o ran ei bryniau a'i mynyddoedd, a'i meusydd, i Ddeheudir Cymru, "gwlad y gân," wedi cael ei rhanu i bedair trefedigaeth. Maent yn cael eu llywodraethu yr un modd ag y llywodraethir Canada, neu heb fod yn annhebyg iawn i lywodraeth un o'r Talaethau Unedig, ond fod y Llywodraethwr ac un-arhugain o'r Cyngor Deddfwrol yn cael eu penodi gan goron Lloegr, yn hytrach na chael eu hethol gan y bobl, fel yn America. Pa fodd bynag, ymddengys fod boddlonrwydd cyffredinol yn mhlith y bobl yn Australia i'r drefn

hon; a chredaf fod y trefedigaethau llawn mor anrhydeddus, a llawer mwy heddychol, nag ydyw y Talaethau Unedig.

Mae New South Wales yn 323,437 o filltiroedd ysgwar mewn arwynebedd, ac y mae ei hyd mewn un lle yn 900 o filltiroedd, a'i lled mewn lle arall yn 850 o filltiroedd. Cyfrifid poblogaeth New South Wales, yn 1876, yn 618,981, heb y brodorion. Mae New South Wales, fel Victoria a Queensland, yn meddu llawnder o fwnau, ac mae rhan fawr o honi yn dir llafur da. Gwlan yw prif gynyrch y wlad, ac yn nesaf at wlan, o ran gwerth, yw tun a chopr. Yr oedd yno yn 1876, 24,382,536 o ddefaid, a 3,134,086 o dda corniog, 357,696 o geffylau, a 190,950 o foch. Cyfanswm y tir llafur oedd 297,575 o erwau, o'r hwn yr oedd 154,030 o erwau dan wenith, 3,462 dan haidd, a 13,795 dan geirch.

Credir fod New South Wales yn meddu mwy a gwell glo nag un rhan arall o Australia. Yr oedd yno yn 1875 chwech-ar-hugain o lofeydd yn cael eu gweithio, o'r rhai y codwyd 1,192,861 o dunelli o lo, yr hwn oedd yn werth 665,746*p*. Mae aur i'w gael mewn rhanau helaeth o'r wlad, a gelwir yr aurfeusydd, yn *Western Fields*, *Southern Fields*, a *Northern Fields*. Yn y flwyddyn 1872 cod-

wyd 392,186 owns o aur; a dyma y flwyddyn fwyaf cynyrchiol yn hanes yr aur-gloddiau. Mae yn y drefedigaeth hefyd fwnau copr o'r fath oreu, y rhai a weithir gyda llwyddiant mawr. Hefyd y mae yn y wlad reilffyrdd llwyddianus; ac yn 1876 yr oedd tair mewn gweithrediad, sef y Southern, y Western, a'r Northern, a'r oll wedi cael eu hadeiladu gan y Llywodraeth. Ac yn mhellach, y mae llinellau telegraphaidd mewn cyflawn weithrediad yn mhob rhan o'r wlad.

Rhwng Sydney a Melbourne, yr oeddym yn hwylio bron yr holl amser yn ngolwg y tir. Yr oedd yr agerlong yn llawn o deithwyr yn dyfod i Melbourne i weled y *races* ar *cricket match* rhwng y "New South Wales Club" a'r "Victorians;" a'r *cricket game*, a'r rhedegfeydd oeddynt brif destynau eu hymddyddanion hwy. Ond cefais hwynt yn hynod gyfeillgar a charedig. Yn eu plith, yr oedd gwraig un o'r Mormoniaid o Salt Lake City, yr hon oedd fel Anne Eliza Young, yn teithio i ddarlithio yn erbyn Mormoniaeth. Gallaswn feddwl oddiwrthi, na chafodd gystal gwrandawiad ag a ddymunasai yn Sydney; ac ar ol treulio ychydig amser yn Melbourne, yr oedd am ddychwelyd at ei gwr, yr hwn oedd yn yn ohebydd da i'r *New York Herald* yn San

Francisco. Cefais hefyd yn ystod y fordaith ymgom a Mr. St. Vincent a'i wraig, *actors* o America, y rhai oeddynt yn Australia er's pedair blynedd. Dywedent eu bod wedi gwneyd yn dda yno; ac o ran hyny, y maent yn haeddu cefnogaeth y dosbarth sydd yn mynychu y chwareudai. Bum un noson yn eu gwrandaw yn yr Apollo Hall, ac yr oeddynt yn rhagorol. Cyrhaeddasom Hobson Bay mewn llai na 48 o oriau; a dywedir na wnaeth yr un agerlong y fordaith mewn amser mor fyr, oddigerth y City of Melbourne. Oddiar y bau, ymddangosai y tir yn rhyw wastadedd eang, heb ond ychydig o goed yn ei orchuddio. Yn mhen tair awr, glaniasom yn Sandrich, lle yr erys pob agerlong a llong o gryn faintioli, trwy nad yw yr afon Yarra Yarrà yn ddigon dofn iddynt ddyfod mor uchel a Melbourne. Oddiyno yr oedd genym dair milldir gyda'r gerbydres i Melbourne.

Wedi cyraedd dinas Melbourne, cymerais *gab* i'r Supreme Court Hotel, ty Cymreig, 101 William Street, yr hwn er y gellid ei gadw yn fwy trefnus, sydd yn dy da, a llawer gwell na'r un gwesty Cymreig a welais yn New York, ac o ran hyny, hawdd y gall fod. Cefais fod llawer o Gymry wedi dyfod i lawr o'r mwngloddiau i dreulio y Nadolig yn y ddinas,

ac felly yr oedd y ty yn weddol lawn; felly yn wir yr oedd y rhan fwyaf o'r gwestai, o herwydd y dyddordeb a deimlid yn y *cricket match* a'r rhedegfeydd. Yr oedd yn hysbys hefyd fod cyfarfod pregethu i gael ei gynal yn y capel Cymreig ddydd Sul, a dygodd hyny nifer mawr i'r ddinas.

Boreu dranoeth—sef Sadwrn y Nadolig, pan aethym i chwilio am fy *luggage*, cefais swyddfa y rheilffordd a phob masnachdy yn gauedig; ac er fod y *station master* yn Gymro ewyllysgar, nis gallai wneyd dim ar fy rhan, yn absenoldeb y *custom officer*. Felly gorfu i mi fod heb fy eiddo hyd ddydd Mawrth. Y maent fel rheol, yn cadw eu gwyliau yn fanwl iawn yno; ac ymddengys fod ganddynt amryw o ddyddiau gwyl, nad oes son am danynt yn America na Phrydain; ac yn eu plith y mae y dydd gwyl a geidw y Victorians, er coffadwriaeth am y pryd y cawsant eu hannibyniaeth ar New South Wales Wedi methu yn fy amcan cyfeiriais fy nghamrau i lawr heolydd Burke, Collins ac Elizabeth, heibio y Post Office, yr hwn sydd adeilad mawr a chadarn, ac mae yno adeiladau gwychion eraill. Yn y parth hwn o'r dref, ceir mantais dda i weled y ffasiynau, a dull y bobl o ymdrwsiadu. Gwelir pobl wridgoch ac iach yr olwg

arnynt, wedi ymwisgo yn dra gwahanol i bobl America a Phrydain. Mae y dynion yno yn gadael i'w barfau dyfu yn hirion, ac mae y ffasiwn yn fyw felly nag yn America; gan hyny lle gwael ydyw i eillwyr. Er mor dda y mae y merched yn gwisgo, nid oeddynt wedi cael gafael ar yr hen ddull ffol o binio eu dillad o'r tu ol, ac oblegid hyny y maent yn ymddangos yn dra gwahanol i ferched America.

O'r pen dwyreiniol i'r ddinas gellir gweled maintioli Melbourne. Hon ydyw y ddinas fwyaf a chyfoethocaf yn yr arddrych deheuol, neu yr ochr hono i'r cyhydedd. Mae y Town Hall yno yn adeilad gyda'r mwyaf costfawr a welir mewn unrhyw fan, a'r un modd gellir dweyd am yr organ sydd yno. Cefais y fraint o'i chlywed yn chwareu y "Messiah," nos Nadolig, yn nghyda dros ddau gant o gantorion rhagorol ag offerynau eraill. Mae adeilad y Llyfrfa gyhoeddus yn un rhagorol; ac mae y Llyfrfa yn agored bob amser i bawb, yr hon sydd yn rhodd i'r bobl, a dywedir nad oes ei gwell yn yr holl fyd o ran amrywiaeth llyfrau ar bob cangen o wybodaeth; a chynwysa dros 100,000 o gyfrolau. Ceir yn yr adeilad hefyd oriel-arluniau o bob math, a'r rhai hyny yn ardderchog; hefyd y mae yno wahanol arddangosiadau o waith cywrain celfyddyd, yn dangos medr a gallu dyn.

Mae y Government House tua milltir a hanner i'r de-ddwyrain, yn adeilad hynod o hardd, a'r mwyaf ar ochr ddeheuol y cyhydedd; a chostiodd swm aruthrol; canys yr oedd yn ofynol cludo y ceryg i'w adeiladu o Tasmania, neu Van Diemen's Land. Nid oedd yr adeilad wedi ei lwyr orphen ar y pryd. Defnyddir llechi o'r Hen Wlad i doi adeiladau yno fel yn Sydney; ac nid oes ond ychydig o lechi yn cael eu cloddio yn Australia hyd yn hyn. Deallwyf fod tua chant o chwarelwyr yn gweithio mewn chwarel yn Adelaide, South Australia; ac maent yn derbyn deg swllt y dydd o gyflog. Hefyd yr oedd chwarel yn cael ei hagor yn Van Diemen's Land, gan gwmni o Melbourne; eithr ni wnaed ond ychydig o lechi yno eto. Clywais hefyd fod chwarel yn cael ei gweithio yn agos i Golburn, New South Wales; eithr nis gallaf ddweyd dim am natur y ceryg, na'r cyflog a delir yno.

Chwareudy ardderchog ydyw y Theater Royal, yn Melbourne, oddi fewn ac oddi allan; ac mae y chwareudai yno, yn tra rhagori ar yr eiddo Sydney. Yr oedd y *Pantomime of the Prince of Wales' visit to India*, a chwareuid yn y Royal yn ardderchog dros ben. Derbyniai lwyddiant mawr yn nosweithiol, ac yno ymgasglai lluoedd o edrychwyr.

Ceir yno addoldai ysblenydd, wedi eu hadeiladu ar gonglau yr heolydd; ac ni welais erioed eu harddach. Maent yn tra rhagori mewn gwychder a harddwch ar addoldai San Francisco. Ar Queen Street y mae capel bychan ond hardd perthynol i'r Cymry, lle y pregetha y Parch. W. M. Evans, a chefais y fraint o'i glywed ef a Mr. Williams, Ballarat, yn pregethu yn rymus yn nghyfarfodydd y Nadolig. Yr oedd yno dyrfa fawr lewyrchus o Gymry wedi ymgasglu yn nghyd i wrandaw. Mae y Cymry yno yn ffyddlonach nag yn Sydney, ac yn ymdrechu mwy i gynal yr achos Cymreig i fyny. Hefyd y mae lle i'r Cymry yno i wella yn eu hymdrechion dros achos crefydd; ac mae Mr. Evans, yn nghyd ag eraill wedi bod yn ymdrechgar dros ben gyda'r moddion Cymreig. Gwnaed ymdrechion egniol hefyd i godi papyr Cymreig yn yr arddrych deheuol, i ddal cymundeb rhwng y Cymry, yn eu hen iaith; eithr er y cwbl ni chaed ond tua thri chant i'w dderbyn. Mae hyn yn profi nad ydyw Cymry Australia mor wladgarol a darllengar a Chymry America. Nid yw Cymry Australia yn gofalu fawr am yr hen arwyddair Cymreig, "Oes y Byd i'r Iaith Gymraeg," ac mae pob peth yn profi i mi nad oes ond oes fer iawn iddi yno! Dim ond tri chant oedd yn

derbyn *Yr Ymwelydd!* Nid gorchest iddynt fuasai derbyn 1,200 o'r *Ymwelydd*, yn ol rhifedi y Cymry yn Victoria, New South Wales, Tasmania, &c. Nid oes neb o'r Cymry yn 'dwyn eu plant i fyny i siarad Cymraeg; ac mae llawer o'r rhai a symudasant o Gymru yn ieuainc wedi colli eu Cymraeg yn gwbl. Mae yn anhawdd cadw y Gymraeg yn fyw yno, am nad oes un llyfr Cymreig a gyhoeddir yn talu am dano ei hun, a'r un modd gyda'r cylchgronau a'r newyddiaduron; a phwy sydd mor ffol a myned i aberthu llafur ac arian, heb neb yn gwerthfawrogi yr ymdrech? Mae y pethau hyn yn profi i mi mai marwolaeth sydd yn aros yr iaith Gymraeg yn Australia.

Aethym i weled chwareu y *cricket game*, ac yr oedd yno lawer o filoedd wedi ymgasglu yn nghyd i edrych ar yr ymrysonfa. Bu y Victorians yn fuddugoliaethus y diwrnod cyntaf; ond daeth yn wlaw trwm, a gwlawiodd bob dydd trwy yr wythnos, ac o herwydd hyny gorfu i chwareuwyr New South Wales ddychwelyd adref yn siomedig, er mai hwy a enillasant y gamp y llynedd.

Dydd Mercher canlynol, aethym i Bendigo, yr hwn sydd yn lle hynod o herwydd cyfoeth yr aur gloddiau. Bu Ballarat yn nodedig o ran aur, eithr y mae yn myned yn ol yn awr.

Ar y ffordd i Bendigo, tarewais ar Gymro parchus o'r enw Jones, sydd yn cadw melin flawd tua deugain milltir yn y wlad. Deallais fod y gwastadir yr oeddym yn myned drwyddo, yn eiddo i ychydig o ddynion, am ugeiniau o filltiroedd. Nid oedd braidd ddim i'w weled ond defaid ar bob ochr i'r ffordd, ac weithiau ceir gweled ambell i balasdy godidog, yn enwedig anedd-dy y cybydd Clark, yr hwn fu farw yn ddiweddar yn werth 4,000,000 o bunau. Gadawodd ei eiddo i'w dri mab; ond gan ei fod yn hoffi un mab yn fwy na'r lleill, rhoddodd braidd yr oll o'i eiddo i hwnw. Ar ol marwolaeth y tad, darfu i'r mab hwnw ranu yr eiddo yn gyfartal rhyngddo ef a'i frodyr. Dyrchafodd hyn ef yn ngolwg y wlad. Y mae ganddo 1,500,000 o ddefaid, ac un ffarm yn cynwys 50 o filltiroedd ysgwar. Yr oedd y tad yn ormod o gybydd i geisio pethau angenrheidiol iddo ei hun.

Yn nesaf, ymwelais a Castle Manes, yr hwn sydd yn lle bychan, ond hynod am ei fwngloddiau. Ni arosais ond ychydig yno; ac wedi myned drwy ddau dwnel tua milltir o hyd, cyrhaeddais i Bendigo erbyn 8 o'r gloch y nos. Cyfarfyddais a llawer o Gymry, a chedwir y Prince of Wales Hotel gan Gymraes o'r Bala. Dranoeth ymwelais a'r Eagle

Hawk Mine, un fu yn dra chyfoethog; ac mae yn perthyn yn awr i ddau frawd. Cefais y derbyniad mwyaf gwresog ganddynt, a chroesaw mawr yn eu tai eu hunain. Buont yn foddion i fy ngwneyd yn gydnabyddus ag amryw o foneddigion dylanwadol a chyfrifol. Bum drwy y mwnglawdd, yr hwn sydd yn 500 o droedfeddi o ddyfnder. Cymry yw y rhan fwyaf o'r gweithwyr. Aeth Cymro o'r enw Owen Owens, mab William Owens, llyfrwerthwr yn Bethesda, Gogledd Cymru, ar goll yno er's chwe' mis yn ol; ac er chwilio pob man a sychu pyllau dwfr, methwyd a chael dim o'i hanes. Bachgen diniwed oedd, heb elynion; ac ni fuasai o un lles i neb ei lofruddio a chuddio ei gorff. Hefyd nid oedd un rheswm dros iddo ddianc, canys gadawodd ei ddillad ar ol. Os aeth i ffwrdd, dylai ysgrifenu at ei gyfeillion pryderus. Gwelais yno aderyn rhyfedd, sef piogen (*magpie*) wedi dysgu canu y tonau, "Have no wife," a "Paddle my own canoe," a hyny agos yn berffaith. Yr oedd yn parablu y geiriau agos mor blaen a bod dynol. Mae dau o addoldai Cymreig yn y lle hwnw, ond ni chefais fawr o'r manylion yn eu cylch. Bendigo a Ballarat ydyw y trefydd mwyaf yn Victoria, allan o Melbourne, ac maent yn lleoedd bywiog. Ceir llawer o

fwngloddiau yn y cylchoedd hyny. Saith a chwech ydoedd cyflog y mwnwyr goreu, am wyth awr y dydd. Mae y cyflog yn fychan iawn, gan fod ymborth a phethau eraill can ddruted yno ag yn California; gan hyny, gwell i'r miners gadw o Victoria. Mae y cyflogau ychydig yn well yn New South Wales. Aethym i Melbourne i'r rhedegfeydd ceffylau, ac yr oedd yno lawer o filoedd o edrychwyr, a rhifai y merched fwy na'r dynion. Mae y rhedegfeydd hyn yn dra gwahanol i redegfeydd America, a'r eiddo Ewrop hefyd. Cefais ddyddordeb mawr yno, a gwelais geffylau campus a gyrchwyd i'r lle o wledydd Ewrop.

John Patmen oedd y dyn gwyn cyntaf a sefydlodd yn Port Phillip, a hyny mor ddiweddar a'r flwyddyn 1835; a thalodd Syr T. Mitchell ymweliad a Victoria, yn 1836, pryd nad oedd yno ond 200 o bobl wynion. Yn 1845, yr oedd poblogaeth Victoria yn 32,000, pryd y dechreuwyd adeiladu Melbourne, yr hon ddinas yn awr sydd yn cynwys dros 200,000 o bobl. Mae cynydd Victoria yn rhyfeddol mewn amaethyddiaeth, llaw-weithfeydd, mwngloddiau a dinasoedd, mewn amser mor fyr. Gwelir fod cynydd Australia yn barhaus, drwy ei bod fel yn nesau at Ewrop ac America, yr hyn a achosir gan reilffyrdd,

agerlongau cyflym, a llinellau gwefrebol. Mae agerlongau yn dyfod yno o Lundain mewn 45 o ddyddiau.

Mae llawer o'r Chineaid yn dyfod drosodd yno, ond nid ydynt yn blino cymaint ar y bobl wynion ag yn California; ac hefyd y maent yn cael cymaint o barch yno yn gyffredin a dynion gwynion.

Dywed Mr. Francis Roberts, arolygwr a rhan-berchenog y chwarel yn Tasmania, fod y rhagolygon yno yn nodedig o dda. Llechau gleision ydynt, ac mae y maen yn gorwedd yn wastad. Daeth drosodd i Victoria i chwilio am chwarelwyr, i'r rhai yr oedd yn cynyg wyth swllt a grot yn y dydd. Yr oedd yno 13 yn gweithio. Dealler fod byw a theithio drwy Australia yn llawer drutach nag yn America; ac mae dilladau o bob math yn ddrutach yno, ond crysau. Cara llawer fyw yno, o herwydd fod cigoedd mor rad; ond yr wyf fi yn barnu pethau fel y canfyddais hwy. Ni chaed dim gwlaw yno er's cryn amser, ac yr oedd y bobl yn galw y tywydd yn boeth; eithr nid oeddwn yn teimlo yr hin yn annymunol o boeth.

Mae Victoria yn cynwys 88,198 o filltiroedd ysgwar, neu 56,446,720 o erwau o dir, amrywiol o ran ei natur. Yn 1877 yr oedd y bobl-

ogaeth yn 849,021. Darganfyddwyd yr aur yno yn 1851, ac am y deng mlynedd cyntaf, neu rhwng 1852 a 1862, anfonwyd oddiyno i Brydain Fawr, dros 2,000,000 o wnses o aur, yn flynyddol. Yn 1875 yr oedd 45,000 o fwnwyr yn gweithio yn y drefedigaeth; a dywedir fod un ran o bedair o honynt yn Chineaid. Yr oedd y rhan helaethaf o'r ymfudwyr, os nad yr oll o honynt, wedi cael cymorth gan y llywodraeth i ymfudo i'r wlad. Ymddengys fod mwy o reilffyrdd yn Victoria nag sydd yn unrhyw un o'r trefedigaethau eraill. Am amaethyddiaeth gellir dweyd fod yn Victoria, yn 1875, 196,184 o geffylau; 1,054,590 o anifeiliaid corniog; 11,749,532 o ddefaid a 40,765 o foch. Mae y gweddill o'i heiddo yn debyg i'r hyn a fynegwyd yn barod am eiddo yn New South Wales.

Gadewais Melbourne, yn yr agerlong enwog *Claud Hamilton*, yr hon sydd yn adnabyddus iawn yn Australia, o herwydd mai o honi hi y collwyd y blwch a'r aur, wrth ei drosglwyddo o'r naill agerlong i'r llall, yn agos i Port Davison, gogleddbarth Australia. Deuwyd o hyd i'r aur, pa fodd bynag, yn mhen amryw o fisoedd, ac ar ol dyfal ymchwiliadau. Hwyliais i lawr yr afon Yarra Yarra heibio i Williamstown a Sandrich, a

Queen's Cliff, ac yn mhen chwe' awr yr oeddwn allan yn y mor. Yr oedd y tywydd yn hynod o arw, a chan i mi daraw ar gwmni cysurus, arosais i lawr islaw y deck braidd yr holl ffordd. Daliasom allan i'r mor o olwg y tir, ac er i ni gychwyn boreu Sadwrn, ni ddaethom i olwg tir hyd 12 o'r gloch ddydd Llun. Y tir cyntaf a welsom oedd Ynys Kangaroo; ond hefyd daeth tir Deheubarth Australia i'r golwg ar yr ochr dde. Ymddengys mai ynys lom, ddiffrwyth, ydyw y Kangaroo; ac mae tuag 20 milldir mewn amgylchedd. Wedi myned heibio yr ynys yr oeddym yn y Gulf, ac o fewn ychydig filltiroedd i dir ffrwythlon. Mae y tir wedi ei lafurio braidd yr holl ffordd o Ynys Kangaroo i Adelaide; ac o herwydd hyny y mae braidd yr oll o'r tir yn meddiant tramorwyr. Ni ddaethom i olwg y dref hyd bump o'r gloch yn yr hwyr, yr hon a ymddangosai yn hynod rhwng y mynyddoedd a'r bryniau. Bu raid i ni fyned heibio Adelaide i Port Adelaide, tua deg milldir i fyny y Gulf. Mae y lleoedd hyn yn rhy agored i wneyd porthladdoedd eto, ac felly rhaid myned 10 milltir heibio i Adelaide i geg yr afon, a dod i fyny y pellder hwnw i Port Adelaide, lle y glania pob math o longau; eto nid oes ond chwarter milldir o'r Port

i'r Gulf, ar linell union. Cefais fod y porthladd yn llawn o longau o bob parth o'r byd. Lle bychan ydyw y Port, a chynwysa tua 3,000 o drigolion; arosais yno i edrych oddi amgylch hyd ddydd Mawrth. Yr oedd yn rhaid i mi deithio naw milldir ar y rheilffordd cyn cyraedd Adelaide.

Er na chefais ond amser byr yn y ddinas, credais ar y pryd hwnw mai dyna y lle mwyaf dymunol a welais erioed i fyw ynddo; ac y mae yn debyg y buaswn wedi ymsefydlu yno dros amser o leiaf, oni bae fy mod wedi gwneyd trefniadau erbyn mordaith fawr i Affrica, ac felly bu raid i mi ddychwelyd i'r Port, gan fod yr agerlong yn cychwyn dranoeth. Yr oedd galwad bywiog am ddynion a merched yno, i'r rhai y telid cyflogau da. Nid oes neb yn gweithio yno ond wyth awr yn y dydd. Dyna lle mae y bobl yn cymeryd eu byd esmwythaf o un lle a welais erioed; ac mae y dref yn mhell o flaen Sydney yn ol ei maintioli. Nid oes yr un store na shop i'w cael yn agored cyn wyth neu naw yn y boreu; ac maent yn cael eu cau bob un am chwech yn yr hwyr. Maent yn rhoddi *shutters* mawrion ar eu ffenestri, fel ag y gwneir yn yr Hen Wlad; ac o herwydd hyny ymddengys fel dydd Sul ar ol chwech yn yr hwyr, hyd o

wyth i naw boreu dranoeth. Wedi cau yr ystordai ceir gweled canoedd yn cymeryd y gerbydres am *Glenely*, lle mae llawer yn byw ar lan y mor, yn y "Cottage by the Sea." Ymgasgla lluoedd yno i ymdrochi; ac mae yr heolydd yn wastad a glân. Hefyd ceir yno rai heolydd llydain a phrydferth. Lle hardd ydyw Adelaide, ac mae King William Street yn nodedig o herwydd ei hadeiladau gwychion. Hysbysir na fu cystal amser braidd erioed yno ag ydoedd ar y pryd hwnw. Yn wir nid ydyw eu dull o weithio ond megys chwareu mewn cydmariaeth i'r modd y llafurir yn San Francisco; ac mae yn rhad i fyw yno hefyd.

Mae y gerddi yno yn ardderchog dros ben. Gwelais un person a fu yn teithio oddi amgylch y byd, yr hwn oedd yn sicrhau fod y gerddi hyny yn brydferthach nag yn unrhyw barth arall o'r byd. Ni welais inau y fath brydferthwch erioed. Dyma le dymunol i fyw, a gall pob un roddi ei droed i lawr yno a gwneyd yn dda mewn unrhyw fasnach. Cynwysa y ddinas tua 40,000 o boblogaeth. Rhaid i mi ei gadael dros ysbaid o amser beth bynag. Gallaf ddweyd fy mod wedi cael Australia yn llawer pellach yn mlaen yn mhob peth nag yr oeddwn yn dysgwyl. Credwyf fod South Australia yn well lle i fyw nag Am-

erica, ar yr adeg yr oeddwn yno beth bynag.

Mae South Australia yn mesur 383,328 o filltiroedd ysgwar mewn arwynebedd, neu 245,326,920 o erwau. Dechreuwyd ymfudo yno o Prydain Fawr, yn 1836, dan nawdd cwmni wrth yr enw South Australia Colonization Association. Yr oedd y cwmni yn wedi cytuno gyda'r llywodraeth Brydeinig i drosglwyddo ymfudwyr i South Australia, ar yr amod y byddai iddynt dderbyn elw oddiwrth y tir; neu mewn geiriau eraill, yr oeddynt yn cael y tir, ac yn ei werthu i'r ymfudwyr. Yn ol y ddeiliadeb a gymerwyd yn 1876, yr oedd yn South Australia 218,060 o dramoriaid.

Cyn ymadael am Affrica, bernais y byddai ychydig o hanes Trefedigaethau eraill Australasia, yn dderbyniol gan y darllenwyr.

QUEENSLAND.—Mae y Drefedigaeth hon yn cynwys 669,520 o filltiroedd ysgwar, neu 428,492,800 o erwau. Dechreuwyd y sefydliad drwy anfon drwg-weithredwyr yno yn 1825, ac yn 1842 agorwyd y wlad i sefydlwyr rhyddion. Erbyn y flwyddyn 1846 yr oedd y boblogaeth rhwng y drwg a'r da yn rhifo 2,257; ond erbyn 1851 yr oedd yno 8,575 o bobl. Parhaodd y cynydd i fyned yn mlaen yn rhyfeddol mewn blynyddoedd dylynol, fel erbyn

1875 yr oedd yno 173,283 o ddisgynyddion Ewropaidd, yn cynwys 105,009 o ddynion a 68,274 o ferched. Brisbane yw y brif ddinas, gyda phoblogaeth yn 1877, o 28,061. Yn'y blynyddoedd diweddaf, cynyddodd poblogaeth Queensland yn fawr drwy ymfudiaeth o China, ac o ynysoedd Mor y De. Mae yno fwngloddiau da o bob natur; ond o herwydd poethder yr hin a lleithder y tir, y mae rhan o honi yn hynod o afiach. Er y cwbl cyfrifir Queensland yn lle da i ymfudwyr, ac mae llawer iawn o aur yn cael ei godi yno yn flynyddol, yr hyn sydd yn cyfrif am lwyddiant y wlad a chynydd y boblogaeth.

Western Australia.—Yn 1875 y sylfaenwyd y Drefedigaeth hon yn ngorllewinbarth y wlad, a mesura oddeutu 978,000 o filltiroedd ysgwar. Poblogwyd y Drefedigaeth gyntaf, drwy anfon amryw filoedd o ddrwg-weithredwyr yno o New South Wales; ac erbyn 1876 yr oedd yr holl boblogaeth yn 27,321. Nid oes dim neillduol hyd yn hyn yn perthyn i'r wlad; ond ar y cyfan gellir dweyd ei bod wedi dechreu yn dda.

Tasmania.—Trefedigaeth bwysig yn Australasia ydyw hon, a adnabyddid yn y blynyddoedd a aethant heibio wrth yr enw Van Diemens Land. Darganfyddwyd yr ynys hon

gan y Morlywydd Tasman, yn y flwyddyn 1642, ac wedi hyny gan y Capten Cook, yr hwn a'i harchwiliodd i raddau. Mesura 26,215 o filltiroedd ysgwar, neu 16,778,000 o erwau mewn arwynebedd. Yn 1876 yr oedd dros 1,000,000 o erwau o'r tir dan ddiwylliant, a'r boblogaeth yn 105,484, sef 55,633 o ddynion, a 49,851 yn ferched. Oddiwrth adroddiad amaethyddol am yr ynys ymddengys fod yno yn 1877, 23,622 o geffylau; 124,459 o dda corniog; 1,755,142 o ddefaid, a 60,681 o foch. Mae adnoddau mwnawl yr ynys yn dra amrywiol a chyfoethog; ac y mae yno gyflawnder o lechi o'r fath oreu. Mae yn Tasmania dair o reilffyrdd mewn cyflawn weithrediad, sef y Launceston and Western Railway, 45 milltir o hyd; un arall yn 120 o filltiroedd o hyd, yn cysylltu y ddau brif borthladd, sef Hobart Town a Launceston; ac mae cangen arall o reilffordd yn rhedeg o Mersey River i Deloraine. Gan fod sefyllfa Tasmania yn ffafriol i lwyddiant masnachol, y mae yn debyg o ddyfod yn Drefedigaeth bwysig yn y dyfodol.

PORT DARWIN.—Porthladd, neu dref fechan, yn Ngogleddbarth Australia ydyw Port Darwin, ac mae y dref a'r wlad oddiamgylch yn cynyddu yn hynod o gyflym. Mae y cynydd

hwn i'w briodoli i gyflawnder mawr o fwnau gwerthfawr, a ddarganfyddwyd yno. Tybir y bydd port Darwin mewn amser dyfodol mor bwysig mewn ystyr fasnachol, ag unrhyw le arall yn Neheubarth y wlad. Am y boblogaeth gellir dweyd fod y Chineaid mewn mwyafrif mawr hyd yn bresenol, yn neillduol felly drwy yr holl Ogleddbarth. Mae llawer o honynt wedi casglu cyfoeth anferth yn yr aurgloddiau. Dylid crybwyll fod rhanau o'r wlad yn boeth ac afiach bob amser. Rhed llinell o agerlongau yn fisol o Singapore i Port Darwin.

Brodorion Australia.—Mae rhanau mawrion o'r wlad hon heb eu harchwilio eto, o herwydd fod yn fwy anhawdd teithio yno nag yn anialdiroedd mawrion Affrica ei hun! Mae y dwfr mor brin yno fel nad oes un math o anifeiliaid na helwriaeth i'w cael yn yr anialdiroedd; ac mewn canlyniad amddifadir teithwyr o ymborth a dwfr i'w disychedu. Hefyd mae y briwydd a'r coedwigoedd mor dynion a dreiniog, fel nad yw yn ddichonadwy myned drwyddynt. Ond er y cwbl y mae y ffaith fod y gwefrebyr wedi ei osod ar draws y cyfandir, o Adelaide yn y De i Port Darwin yn y Gogledd, pellder o 2,000 o filltiroedd, yn profi fod anturiaethwyr yn gallu goresgyn y

rhwystrau mwyaf celyd. Hefyd y mae rheilffordd yn cael ei hadeiladu ar yr un llinell a'r gwefrebyr; a dengys y ffeithiau hyn fod llawer yn cael ei wneyd tuag at ddwyn dirgelwch mewnol Australia yn adnabyddus i'r byd. Methwyd hyd yn bresenol a chael allan faint yw nifer trigolion gwreiddiol a brodorol Australia. Mae y brodorion yn debyg i'w gilydd yn mhob parth o'r wlad, yr hyn sydd yn profi eu tarddiad o'r un ffynonell wreiddiol. Maent yn hollol wahanol o ran lliw a nodweddion eraill, i frodorion gwledydd ac ynysoedd eraill. Er fod eu lliw yn hollol ddu nid oes dim arall yn y gwynebpryd yn debyg i'r Negro Affricanaidd. Mae y talcen yn uchel ac yn syth, heb golli yn ol fel talcen slip y Negro. Er fod eu trwynau yn llydain, eu cegau yn fawrion a'u gwefusau yn dewion, y maent yn llawer mwy lluniaidd a deallus yr olwg arnynt na'r Negroaid. Sylwir hefyd fod llygaid brodorion Australia yn fychain, duon, yn ddwfn yn y pen, ond er hyny yn dreiddgar a llym. Mae eu gwallt yn ddu ac yn hir, heb fod yn wlanog a chrychlyd, fel gwallt Negroaid Affrica. Nid ydynt o ran maintioli yn gwahaniaethu llawer oddiwrth bobl gyffredin Ewrop.

## PENNOD III.

*Mordaith o Australia i Affrica yn y llong "Orient"—Dymunoldeb y daith—Cwmni cyfeillgar—Canu a dawnsio—Cyfarfod cyfaill mewn llong arall ar ganol y mor—Hyfrydwch wrth bysgota—Dal albatross a morfoch—Glanio yn Cape Town—Trefedigaethau Cape of Good Hope, a'r daith i'r Diamond Fields, &c., &c.*

Yr oedd agerlong o'r enw *Glenely*, a dwy neu dair o hwyl-longau, i gychwyn i Loegr, gan alw yn Cape Town; ond o herwydd y cwmni, ac ystyriaethau eraill, dewisais yr hwyl-long *Orient*, a berthynai i Lundain; ac ar ol mordaith o 49 o ddyddiau, cyrhaeddais Cape of Good Hope. Cefais fordaith hynod o hyfryd, ie, gymaint felly fel na hiraethais unwaith am weled tir, na therfyn y daith. Cefais foddlonrwydd mawr yn y llong, yr hon er ei bod yn hen, oedd eto yn wasanaethgar. Yr oedd ynddi, y fordaith dan sylw, 13 o deithwyr, 9 o ferched a 4 o ddynion, y rhai a enwaf fel y canlyn: Y Parch. Charles Morse, ei briod, a'i ferch, y rhai fuont yn byw yn Australia 21 o flynyddoedd. Mae yn awr yn berson Eglwys Loegr, ac yn genadwr i wledydd anwaraidd.

Gwr boneddig o'r iawn ryw ydoedd, ac yn un hynod o ddifyrus yn ei gwmni. Yr ail oedd Mr. Youell, masnachwr o Adelaide; ond ar yr amser hwnw yn myned i Peterhead, Scotland. Y trydydd oedd Mr. Bennett o Lundain, yr hwn a deithiai y mor am ei iechyd, ac ar y ffordd adref o Australia. Nid ydoedd yn cael iechyd yn un man ond ar y mor; er hyny yr oedd arnaf ofn na fyddai fyw yn hir. Wel, y fi ydoedd y pedwerydd, ar fy ffordd i barthau mewnol Affrica, sef i'r aur-gloddiau a meusydd y diamond. Yn mhlith y boneddigesau yr oedd Mrs. Martin a'i merch, brodorion o Cape Town, y rhai a gyfarfyddais wrth ddyfod o Melbourne, a buont yn hynod o garedig i mi. Hefyd yr oedd dwy foneddiges o Lundain gyda ni wedi bod yn Australia yn rhodio; ac ymddengys eu bod yn meddu digon o gyfoeth. Yr oeddynt yn teithio er's blynyddau, ac yn foneddigesau yn nghyflawn ystyr y gair. Y ddwy nesaf y sonir am danynt oeddynt Miss Turner, a Mrs. Gilbert, genedigol yn South Australia; yr oeddynt ar y ffordd i wneyd taith drwy Ewrop. Gwnaethant eu hunain yn gyfeillgar gyda phawb, ac yr oedd eu cwmniaeth yn ychwanegu llawer at bleser ein taith. Yr oedd Mrs. Martin a'i merch, Miss Absalom a Miss Popam, a Mrs. Mitchell, sef gwraig y cadben,

4*

yn gantoresau campus, ac yn dra charedig, gan ymegnio i wneyd pawb yn gysurus.

Canasom lawer i ddifyru ein hunain, a phan fyddai y mor yn dawel, yr oeddym yn dawnsio, ac ymunodd y Parch. Mr. Morse a ni unwaith i wneyd y cwmni i fyny. Nid oedd efe yn credu fod dim niwed mewn dawnsio, mwy nag sydd mewn rhedeg, rhodio neu gerdded, ac mewn gwirionedd yr oedd dawnsio yn iechyd mawr i ni mewn lle bychan ar y mor. Gwaith ardderchog ydyw dawnsio i roddi ystwythdra i aelodau a chymalau, hyrwyddo cylchrediad y gwaed, ac adferu iechyd. Ar ol blino yn canu ac yn dawnsio, yr oedd llyfrfa ar fwrdd y llong, yn cynwys llyfrau dewisol ar wahanol gangenau gwybodaeth, fel yr oedd genym ddigon o waith darllen. Cafodd yr holl deithwyr ond y fi a Mrs. Martin, glefyd y mor am tua phedwar diwrnod, o herwydd fod y tywydd yn derfysglyd; ond ar ol i hyny fyned heibio yr oedd sirioldeb ar wyneb pawb.

Buom chwe' diwrnod heb weled cymaint ag un long, pryd y daethom yn ddigon agos i un i siarad drwy arwyddion, ac yr oedd hyny yn foddlonrwydd mawr i bawb. Y llong *Antibidus*, o Lundain ydoedd, ar ei mordaith i Melbourne, gyda llwyth o wlan. Yr oedd y mor yn bur fras ar y pryd. Arferwn fyned i ben

y *mast* weithiau, er mwyn gallu gweled yn mhell. Ar y 25ain o Ionawr, daeth rhyw wrthrych hynod i'r golwg; a chan nad oedd dim gwynt ar y pryd, buom yn hir heb allu neshau at yr hyn a ymddangosai mor hynod yn y lle pellenig hwnw. Buom ddau ddiwrnod heb fyned dros 40 o filltiroedd. Cawsom ein deffroi yn foreu yr 28ain i weled llong fawr ardderchog oedd yn ein hymyl. Daeth pawb i fyny, a phan o fewn tua haner milltir iddi codasant eu baner, a rhoddasant yr enw i fyny, sef *Herteford* o Lundain! Synais pan welais yr enw a dywedais wrth y cadben i mi fod ar ei bwrdd yn Sydney, a'i bod yn rhwym i Calcutta, India, gyda llwyth o geffylau; a bu yn agos i mi a hwylio ynddi. Hefyd hysbysais enw y cadben; ac yn fuan profwyd mai gwir oeddwn yn ddweyd, gan i mi fynegi fod genyf gyfaill ar ei bwrdd, o'r enw Mr. McKenna, o San Francisco. Bu cadben ein llong mor garedig a hysbysu drwy lythyrenau mawrion ar y baneri, fod Thomas ar y bwrdd yn un o'r *passengers*, sef cyfaill i James McKenna, oedd ar y llong hono. Derbyniasom atebiad yn ol yn erfyn arnaf anfon ato o Affrica i Calcutta. Atebodd ein cadben "*with pleasure.*" Ar ol hyn codwyd y faner Seisonig i fyny, ac aeth Mr. James McKenna i fyny i'r hwylbren i

chwifio baner wen, a gwnaethym inau yr un peth. Yr oedd y boneddwr hwn yn dyfod gyda mi o San Francisco i Australia, ar ei ffordd at ei frawd sydd yn fasnachwr yn Calcutta. Yr oedd yn foddlonrwydd mawr i mi ddyfod o hyd iddo fel hyn ar ganol y mor mawr, a hyny mor annysgwyliadwy. Ni buom ond byr amser yn ngolwg ein gilydd, gan fod ein llong ni yn myned yn hynod o gyflym gyda gwynt teg. Pan na fyddai gwynt i'n chwythu yn mlaen, treuliem ein hamser i bysgota, a hyny gyda llwyddiant mawr. Hefyd llwyddasom i ddal un o'r adar a elwir albatross. Mae yr adar mawrion hyn i'w cael oddeutu yr un lledred oddiamgylch y ddaear. Daliasom yr aderyn drwy roddi darn o gig mochyn ar fach wrth flaen rhaff, a thaflasom yr abwyd i'r mor. Yr oedd yr aderyn a ddaliasom yn mesur pymtheg troedfedd o flaen y naill aden i flaen y llall. Difyrodd y morwyr eu hunain drwy ddal dau for fochyn, y rhai a lanhawyd ac a fwytawyd. Yr oedd y cig yn debyg i'r eiddo cig eidion cyffredin; ond barnem ei fod braidd yn rhy gryf i ddyfod yn ymborth dewisol a phoblogaidd.

Cadwasom yn bur uchel i'r gogledd er mwyn cael y "*trade winds*," i gyflymu ein mynediad; ac o'r diwedd daeth Cape St. Mary, Madagas-

car, i'r golwg. Ni welsom nemawr o'r ynys hono; ac yr oedd y llifeiriant yn rhedeg mor rymus mewn rhai manau rhwng Madagascar a'r Cape of Good Hope, nes anfon ein llong o'i chwrs. Rhedai y dwfr yn y cyflymdra o bedair milldir yn yr awr, yn aml. Daeth tir Affrica i'r golwg Chwefror 26ain, mewn lle a elwir "Hole in the Wall," a'r noson hono gwelsom Buffalo Light, aber yr afon Buffalo. Ar y 27ain daeth y Cape i'r golwg, a'r fynedfa i Port Elizabeth, Algoa Bay. Tref fechan fywiog ydyw Port Elizabeth, a lle hardd. Yr oedd y tir yn awr yn y golwg, yr holl ffordd i benrhyn mwyaf deheuol Affrica. Ymddangosai y cwbl yn fynyddau creigiog a noethlwm. Er fod ein mordaith yn hynod o ddymunol, yr oeddym yn falch pan ddaeth Cape of Good Hope i'r amlwg, yr hwn a ymddangosai fel ynys o'r llong. Mae goleudy y Cape ar le uchel, ac i'w weled o bellder mawr, 35 o filltiroedd. Ar y cyntaf y mae i'w weled yn fflachio bob mynyd, er mwyn dangos mai goleu y Cape ydyw; ond ar ol dyfod o fewn llai nag ugain milltir iddo y mae i'w weled yn rheolaidd o hyd. Nid wyf yn deall pa fodd y mae felly, ond dyna y ffaith pa fodd bynag. Ar y cyntaf yr oedd gwynt croes cryf yn peri i ni gadw draw oddiwrth y tir; eithr cyfnewidiodd, a

rhedasom i mewn i Table Bay; a gollyngasom angor o fewn milltir i Cape Town, 35 milldir o Cape of Good Hope. Nid oedd yr agerlong *Glenely* wedi dyfod i mewn; ond ar y 3ydd glaniodd, 35 o ddyddiau o Adelaide; felly gwelir fod ein llong ni wedi gwneyd mordaith gampus mewn 49 o ddyddiau heb rym ager. Aeth yr holl deithwyr i'r lan mewn cwch, a'r cadben a'i wraig; ond gan fod y mor yn arw cawsom ein gwlychu yn dost. Derbyniwyd ni yn wresog yn y Royal Hotel.

Cape Town.—Canfyddais y Royal Hotel yn lle dymunol i aros; ac y mae yno west-dai eraill o'r dosbarth blaenaf o ran maintoli, sef St. George, y Masonic a'r Commercial. Nid ydyw y tai ond dau uchder llofft; ac er fod y dref hono dros ddau gant o flynyddoedd o oed, nid oes yno ddim llawer i'w ganmol. Amgylchynir y lle a rhyfeddodau mawrion natur, yn enwedig y Table Mountain ar un ochr, a'r Llew ar yr ochr arall. Clogwyn mawr uchel ydyw y Llew, ac y mae yn debyg i lew yn gorwedd. Ar ben hwn y mae y goleudy, ac oddiyno gwelir llongau yn dyfod i'r culfor Ar ochr orllewinol y dref y mae y Table Mountain, yr hwn sydd dros 3,000 o droedfeddi o uchder. Aeth mintai o honom i ben y mynydd, a chawsom waith dringo caled. Ar ei

ben, y mae yn wastad fel bwrdd, yr hyn sydd yn esboniad ar yr enw, ac mae y gwyneb agosaf at y dref yn hollol serth. Cawsom olygfeydd ysblenydd o ben y mynydd; ac yr oedd y cadben, ei wraig a'r merched eraill yn mawr fwynhau prydferthwch yr olygfa. Yr oedd y wlad a'r mor am bellderau mawrion yn y golwg; ac ymddangosai Cape of Good Hope fel ynys yn y mor. Disgynasom o'r mynydd ar ol cael gwledd dda i'r llygad a'r meddwl.

Wedi dychwelyd i'r hotel i ysgrifenu, ni chefais ddim hwyl, o herwydd fod Madam Anna Bishop yn ymarfer canu yn fy ymyl, a denodd fy holl sylw. Yr oedd hi yn cadw cyngerdd y noson hono, ac aeth yr oll oedd ar fwrdd yr *Orient* i wrando arni. Er ei bod o 60 i 70 mlwydd oed, y mae yn canu yn rhagorol iawn.

Rhoddir ar ddeall fod Cape Town yn cynwys 35,000 o bobl, ac mae mwy na'u haner yn dduon—rhai yn loew ddu, ac eraill a elwir Malays o liw melyn. Mae yr Ellmyniaid yn lluosocach yno na neb arall o'r Ewropiaid. Maent yn poblogi yr holl barthau hyny o Affrica. Maent yn amaethu, ac yn trin y tir yn dda. Mae y dref hono haner cant o flynyddoedd ar ol Awstralia; ie, gellir dweyd ei bod yn fwy lawer na hyny ar ol yr oes hon. Nid

ydyw hyn yn siarad yn uchel am anturiaeth a chynydd yr Is-Ellmyniaid. Hen ffasiwn o'r fath hynaf ydyw pob peth ganddynt; ac yn waeth na'r cwbl nid oes yno gymaint a ffos na thraen i gario y budreddi i'r mor, er y byddai yn dra hawdd gwneyd hyny, gan fod yno rediad da i'r dwfr. Hefyd nid oes yno adeilad gwerth ei ganmol o ran maintioli a gwaith. Mae yno rai lleoedd hynod o brydferth o waith natur; ond isel a salw yr olwg arnynt ydyw y tai, heb un yn uwch na dau uchder llofft. Ac yn mhellach nid oes yno *side walks* ar ochrau yr heolydd; ac mae y bobl yn cerdded fel anifeiliaid ar ganol yr heolydd.

Maent yn deall sut i godi prisiau uchel am bob peth yno, ac mae y prisiau yn yr hotels yn llawer gormod. Rhaid talu yn yr hotels 12s. 6c. y dydd; ac yr oedd pob un o'r gwest-dai goreu yn llawn. Teithia llawer o'r Iuddewon yn ol ac yn mlaen i brynu *diamonds*. Mae byw yno yn bur gostus, a hyny, gan mwyaf o achos rhenti uchel; ac o herwydd fod yn rhaid cael glo a choed, a'r rhan fwyaf o bethau i'w bwyta, fel at wisgo, o wledydd tramor. Ymddengys fod y trigianwyr yn cymeryd eu byd yn esmwyth iawn, heb byth un math o anghydfod yn eu plith; ond dywedir mai pobl ddiog iawn sydd yno. Clywais y bobl wyn-

ion yn dweyd fod y bobl dduon yn rhy ddiog i symud braidd; ond fy nghred i yw fod y gwyn a'r du y naill mor ddiog a'r llall.

Mae *docks* bychain rhagorol o wenithfaen wedi cael eu gwneyd yno y blynyddoedd diweddaf, yn fwyaf neillduol at wasanaeth yr *Union S. S. Co.*, sef y *Donald Curry Line of Steamers.* Mae dwy linell yn rhedeg rhwng Cape Town a Southampton, Lloegr, ac maent hwy yn cario y llythyrgodau a theithwyr unwaith bob pythefnos. Mae yno amgueddfa ragorol o fwystfilod, ac adar &c., o wahanol barthau o'r wlad. Yn ol ei maintioli, ni welais ei gwell yn unman. Hefyd y mae eu gerddi yn dra phrydferth; ond yn mhell ar ol gerddi Adelaide, Australia. Ceir yno yn mhellach goed cysgodion, tu hwnt i ddim a welais erioed. Aethom ni, sef teithwyr yr *Orient*, i weled lle o'r enw Constantia, 15 milltir o'r dref. Llogasom gerbyd a phedwar o geffylau da, ond eu bod yn fychain, fel yr holl geffylau yno. Cawsom ffordd hyfryd iawn, ac yr oedd coed derw mawr wedi eu pontio dros y ffordd bob cam, ac yn ffurfio cysgodion campus. Math o winllan y mae llawer o son am dani ydyw Constantia. Cawsom bob croesaw gan y gwinllanwyr, a digonedd o win o bob math i'w yfed. Cymellasant ni i helpu ein hunain

â grawnwin, yn gystal a'r gwin, yr hyn a wnaethom. Gwelais hwy yn gwneyd gwin yn ol yr hen ddull, sydd wedi myned allan o arferiad er's llawer blwyddyn. Dengys hyn hefyd eu bod ar ol yr oes gyda phob peth. Dychwelasom i'r Royal Hotel cyn y nos, wedi cael taith ddymunol, a charedigrwydd mawr.

Cape of Good Hope.—Dechreuwyd sefydlu Cape of Good Hope yn 1652, gan yr Is-Ellmyniaid. Yr oedd y Portugiaid wedi gwneyd ymdrechion i sefydlu a meddianu y wlad yn flaenorol; ond bu i'r Ellmyniaid lwyddo i'w dal hyd 1796, pryd y cymerwyd hi oddiarnynt gan y Prydeinwyr. Yn 1803 daeth yr heddwch a wnaed yn Amiens a'r wlad eto yn ol i feddiant yr Ellmyniaid; ond yn mhen tair blynedd, sef yn 1806, anfonodd Lloegr filwyr i'r Cape, i ail feddianu y wlad drachefn, ac o hyny hyd yn hyn, mae Cape of Good Hope, yn nghyd a rhanau helaeth eraill o diriogaeth Deheubarth Affrica, o dan aden Prydain Fawr. Yr oedd maintioli a phoblogaeth y drefedigaeth a adnabyddid wrth yr enw Cape of Good Hope, pan gymerwyd y ddeiliadeb yn 1877, fel y canlyn:

| Y Trefedigaethau. | Arwynebedd mewn milltiroedd ysgwar. | Pobl 'gaeth. |
|---|---|---|
| Cape Colony, . . . | 181,592 | 496,381 |
| British Kaffraria, . . | 3,463 | 86,201 |
| Basuto-land, . . . . | 8,450 | 75,000 |
| Fingoland a Nomansl'd | 5,000 | 140,000 |
| Griqualand West, . . | 16,630 | 45,200 |
| Transvaal, . . . . | 114,360 | 300,000 |
| Cyfanswm, . . | 329,495 | 1,142,782 |

Mae llawer o Brydeinwyr wedi ymsefydlu yn nhrefedigaeth Cape of Good Hope; ond y mae y mwyafrif o'r Ewropiaid, neu o darddiad Ewropiaidd, yn Ellmyniaid. Mae yno lawer hefyd o hiliogaeth y Germaniaid a'r Ffrancod. Y brodorion gwreiddiol ydynt yr Hottentots a'r Kaffirs, a rhai a alwant eu hunain yn Affricanders. Pobl ydyw y rhai'n o fam ddu a thad Ellmynaidd, ac mae yr Affricanders yn lluosog iawn yn amgylchoedd y Cape. Mae llawer o'r Malays wedi ymfudo i'r wlad hon; eithr ymddengys nad oes dim cariad yn bodoli cydrhwng y llwythau uchod, ond i'r gwrthwyneb, atgasrwydd mawr yn bodoli rhyngddynt.

Prif gynyrch trefedigaeth Cape of Good Hope yw gwlan, ac anfonwyd gwerth £2,376,322 o wlan i Brydain yn 1876, ac yn ystod yr un flwyddyn gwerthwyd gwerth £359,492 o blu yr estrys. Yn 1876 yr oedd yn y drefedigaeth

9,836,065 o ddefaid, a 692,514 o wartheg. Mae y meithrinwyr defaid yn gyffredin yn meddianu llawer iawn o dir. Perchenogai amryw o 15,000 i 20,000 o erwau, am yr hwn y talant ryw swm neillduol o rent i'r llywodraeth.

Mae trefedigaethau deheubarth Affrica yn cael eu llywodraethu yn mhob modd yr un fath a threfedigaethau Australia. Y llywodraethwr cyffredinol ydyw y Right Hon. Sir Henry Bartle Edward Frere, G. C. S. I.; K. C. B.; ac mae ei gyflog yn £6,000 y flwyddyn; ond y mae £300 yn cael eu rhoddi iddo tuag at gadw ei balasdy.

Yn y cyfamser, cyfarfyddais ag amryw oeddynt fel fy hunan, yn awyddus am fyned i aurgloddiau Transvaal, pellder 1,600 o filltiroedd o Cape of Good Hope; a bu i 30 o honom gytuno i fyned yno gyda gweddoedd o ychain, eithr y canlyniad fu i'r oll ond pedwar newid eu meddyliau, ac aeth y rhai hyny gydag agerlong i Port Natal. Yr oedd yn cymeryd wythnos i forio yno, ac wedi cyraedd Port Natal, yr oedd yr aur-gloddiau yn y pellder o 400 o filltiroedd. Penderfynodd y pedwar arall, a finau yn un o honynt, fyned dros y wlad i'r *diamond fields;* a chawsom ein calonogi yn fawr gan foneddwr a fu dros y

daith, ac a ddywedai ei fod mewn *picnic* parhaus drwy yr holl siwrnai. Yr oedd yn rhaid i ni deithio 800 o filltiroedd cyn cyraedd Kimberley. Wedi ffarwelio â'r teithwyr ar yr *Orient*, a swyddogion y llong, gyda theimlad pryderus, cymerasom y gerbydres am Wellington, pentref bychan dymunol, 90 milltir o Cape Town, lle yr oeddym i wneyd darpariadau i gychwyn ar ein taith hirfaith. Pan gyraeddasom yno, cawsom fod pob peth yn ol y dysgwyliad—dwy wagen fawr yn llwythog o wahanol gelfi, a phawb yn parotoi i gychwyn ar ganiad y ceiliog dranoeth. Yr oedd deuddeg o fulod da wrth bob gwagen; ond yr oedd yn gymaint ag a allent wneyd i dynu y llwythi ar le gwastad; ac felly, pan ddaethom i'r mynydd-dir, gorfu i ni adael ein paciau yn y gwageni, cymeryd ein gynau yn unig ar ein cefnau, a gwneyd y defnydd goreu a allem o'n traed. Gwneid ein cwmni i fyny o un Ysgotyn ac un Ellmyn, wedi dyfod gyda'u gilydd o New Zealand, yn yr agerlong *Glenely*; ac un Sais o Lundain, ond diweddarach o Brisbane, Queensland, yr hwn ydoedd wedi dyfod o Australia hefyd. Cychwynasom yn galonog, ac wrth ddringo y mynydd yr oeddym yn gweled holl gyrau y wlad oddiamgylch. Cyrhaeddasom ben y mynydd, yr hwn a elwid

Bain's Bluff, erbyn tri o'r gloch y prydnawn; ac yn wir, yr oedd yr olygfa oddiyno yn ysblenydd dros ben. Gelwir hwn yn Bain's Bluff neu Bain's Pass, am mai Bain, meddir, wnaeth y llwybr gyntaf dros y mynydd hwn; a dywedir iddo fod wrth y gwaith bymtheg mlynedd, gyda haid o ddrwg-weithredwyr (*convicts*) a anfonwyd o dan ei ofal. Ac yn sicr, ffordd go dda ydyw, drwy y fath le anhygyrch. Daliodd y nos ni ar odrau y mynydd yr ochr draw, a thrwy ein bod yn teimlo yn flinedig, cysgasom yn esmwyth o dan y gwageni y noson hono.

Ar ol gadael Bain's Pass, yr oedd ein cyfeiriad tua Mitchell's Pass; ac am yr wythnos gyntaf, nid oedd genym ond croesi y naill fynydd ysgythrog ar ol y llall yn barhaus, heb ddim ond golygfeydd noethlwm a mynyddig yn ein hamgylchu ar bob llaw. Nid oedd cymaint a dafad na gafr i'w gweled yn un man; nac un math o greaduriaid gwylltion, er rhoddi mantais i ni ddangos ein gallu gyda'n harfau tân. Pa fodd bynag, ar y pumed dydd cawsom olwg am y tro cyntaf ar haid o epaod, neu fel y galwai rhai hwynt, *baboons*. Pa rywogaeth bynag o greaduriaid oeddynt, ni bydd i mi byth anghofio y brofedigaeth y syrthiais iddi gyda hwynt. Fel yr oedd y

Sais a minau yn cerdded un boreu, rai milldir-oedd o flaen y mulod a'r gweddill o'r cwmni, clywem ryw gyfarth, tebyg i gyfarthiad cwn, ac ar ol myned ychydig yn mlaen canfyddem nifer o'r *baboons* hyn ar lan afonig islaw i ni. Gan fy mod wedi arfer meddwl bob amser, mai mewn coed y trigianai y creaduriaid hyn, ac nid mewn lleoedd creigiog a noethlwm, bum am ychydig amser heb gael fy argyhoeddi mai epaod oeddynt; ond yn lled fuan symud-wyd ymaith bob amheuaeth yn nghylch hyn. Ar ein gwaith yn dynesu atynt, rhedasant ymaith ar hyd rhyw lechwedd yr ochr arall i'r afonig, ond saethasom atynt, gan glwyfo un o honynt. Heb ystyried fod un math o berygl yn bod, estynais fy ngwn i fy nghyfaill, a phrysurais yn mlaen ar ol yr un clwyfedig, yr hwn hefyd a ddeliais gerfydd ei gynffon; ond, er ei fod wedi ei glwyfo, ofnais y buasai yn fwy na *match* i mi. Bu yn ymladdfa boethlyd rhyngom am beth amser, ond llwydd-ais i gael mantais arno, a phartoaiso i'w gym-eryd yn garcharor. Pan oeddwn yn cychwyn yn fy ol, gwaeddodd fy nghyfaill arnaf am edrych ati, ac mor wir a'r pader, brawychwyd fi wrth weled haid o'r bwystfilod cynffynog yn prysuro i faes y gyflafan, a golwg erchyll o fygythiol arnynt. Nid oedd dim i'w wneyd

ond taflu y *baboon* clwyfedig i lawr, a chymerydd y goes yn y modd cyflymaf drwy yr afonig; ac mae yn sicr i mi lamu dros dri neu bedwar cant o latheni yn gynt y tro hwn na'r un tro o'r blaen yn fy mywyd. Ar ol dringo i fyny yr allt tua'r ffordd, cymerais hamdden i edrych yn ol, a gwelais fod fy ngelynion wedi aros ar lan yr afon, yn edrych fel lot o grydd-ion, ac yn ceisio lluchio ceryg tua'r cyfeiriad y safwn, yn yr hwn orchwyl yr oeddwn, pa fodd bynag, yn drech na hwynt o ddigon. Gwnaf lw na fydd i mi byth mwy fod mor fyrbwyll ag y bum yn yr amgylchiad hwnw. Yr oedd y creaduriaid mileinig hyny o liw du, ac o faintioli cwn canolig, sef tua thair troedfedd pan ar eu traed: a rhifent tua pymtheg a thri ugain. Gwelsom nifer o honynt drachefn, ond ni thalasom un sylw iddynt yr ail waith.

Yn mhen saith niwrnod, gadawsom y mynydd-dir, ac yn awr nid oedd ond gwastadedd fel môr i'w weled o'n blaen. Eithr dylaswn ddweyd ein bod ar y chweched dydd wedi cyraedd Ceres, pentref dinod, mewn rhyw grochan o le, gydag ychydig o drigolion o bob lliw yn cartrefu ynddo, a dau neu dri o fasnachdai bychain. Yno, prynasom luniaeth, yn gymaint ag na chaem le mor gyfleus drachefn nes cyraedd Beauford, tri chant o fill-

diroedd yn mlaen— er fod amaethwyr Ellmynaidd yn byw yn mhob man lle yr oedd dwfr i'w gael ar y gwastadedd sych yr oeddym i fyned drwyddo, ac y gallem brynu rhai pethau at ein heisiau ganddynt hwy. Am y tri diwrnod cyntaf o Ceres, cawsom ffermydd yn rheolaidd bob rhyw 30 neu 40 milltir; ond tai bychain budron, wedi eu gwneyd o laid oeddynt oll, ac unig gynyrch y tir oedd math o berthi, tebyg i'r *sage brush* yn nhalaeth Nevada, a manau eraill, neu gyffelyb i'r grug yn Nghymru. Cedwid defaid a geifr i bori y twmpathau hyn, ac mae'n rhaid dweyd fod y cyfryw yn ymddangos yn raenus, er saled ydoedd eu bwyd. Mewn rhai manau, cedwid gwartheg hefyd, y rhai a ymborthent ar yr un math o ymborth; ac yn aml yr oedd ugeiniau o'r estrysod i'w gweled oddiamgylch y ffermydd; ac mae yn sicr fod codi estrysod yn talu yn well na dim arall yn neheubarth Affrica. Gwelais bâr yn gwerthu am £40. Ar foreu y 12fed diwrnod o Wellington, daethom i gwr y "Curiw," chwedl yr Ellmyn, neu ddiffaethwch, a ofnid gan bawb, ac yno yr oedd digonedd o ddwfr, ond ei fod yn hallt. Yma rhoddasom orphwysfa i'r mulod, trwy fod ganddynt dros driugain a deg o filltiroedd i

groesi anialdir tywodlyd, lle yr oedd ein *drivers* wedi colli eu hanifeiliaid yn flaenorol.

Dranoeth, ail gychwynasom, ac am yr ugain milltir cyntaf, yr oedd y ffordd yn galed ac yn hawdd ei theithio, ac aethom dros y pellder hwnw mewn ychydig o oriau. Yn fuan daethom i'r lle tywodlyd yr ofnid am dano, ac yr oedd yn hynod boeth. Yr oedd y llwythi yn fwy nag y gallai y mulod dynu, er ein bod ni oll yn cerdded. Bu raid i ni roddi y mulod oll wrth yr un wagen dair gwaith. Croesasom y lle erbyn tri o'r gloch dranoeth heb un niwed na damwain, a theimlai y gyriedwyr eu bod wedi cefnu y daith. Gwelsom 230 o anifeiliaid meirwon fel pe buasent newydd drengu ar y sychdir hwn; ond wedi gorphwyso a phorthi ein mulod, ail gychwynasom. Nid oedd dim ond gwastadedd fel y mor o'n blaen, ac o'n hamgylch. Gwelsom rai bryniau crynion yma a thraw; ond yn fuan daethom at y Buffalo River, yr hon oedd yn isel ar y pryd. Drwy ei bod yn llawn o geryg, cawsom drafferth i'w chroesi mewn wyth awr o amser, a thorasom lorp un wagen.

Cawsom drafferth erchyll i gyraedd Beauford, haner y ffordd i Kimberley. Yr oedd amryw ffermydd yn codi defaid oddiamgylch. Gwelsom yroedd o *spring bucks*; ond yr oedd-

ynt yn rhy bell i'w saethu, ac yn rhy wylltion i ni allu myned yn agos atynt; er fod amryw o helwyr yn ein cyfarfod a llwythi gwageni o honynt wedi eu saethu. Maent o faintioli llawer mwy na'r *antelopes* ar wastadedd America. Bu raid i ni brynu cig defaid a bara, a thalu crogbris am dano, gan yr Ellmyniaid. Clywais yn Australia mai Ellmyniaid y lle hwn ydyw y bobl fwyaf crintachlyd yn y byd, ac yr wyf yn credu hyny. Ni roddent lymaid o ddwfr i neb am ddim, ond dangosent i ni weithiau fod dwfr i'w gael haner milldir o bellder.

Teithiasom yn mlaen heb ddim neillduol hyd un noswaith, tra yr oeddwn i ac un arall yn cysgu ar ben y wagen, pan aeth un olwyn i dwll, a'i throi, nes ein taflu ninau ar ein penau i'r llaid. Yr oeddym mewn sachau dros ein penau tra yn cysgu, a tharewais fy mhen yn erbyn careg, ond cadwodd y sach fi rhag cael fy anafu yn beryglus. Am fy nghyfaill, gyrwyd ei fraich o'i lle. Yr oeddym yn mhell oddiwrth bob meddyg, a dim tebyg y deuem at yr un yn fuan; felly gorfu i ni ymdrechu cael ei fraich i'w lle wrth ei hercian yn ol ac yn mlaen. Buom am 10 awr cyn cael pethau i drefn i ail gychwyn. Aethom yn mlaen yn lled rwydd i'r Orange River, yr hon sydd yn

afon lydan, ac yn derfyn rhwng Cape Colony a'r Orange Free States. Yr oedd rhyw fath o gwch yn croesi hon, a rhaid talu tair punt y wagen am groesi. Dyn gwyn sydd yn cadw y lle, a Kaffirs noethion hollol gydag ef. Caed pob peth drosodd, o chan mai Sul ydoedd, cydsyniwyd i wario y diwrnod ar lan yr afon, er rhoddi gorphwysfa i ddyn ac anifail. Yr oedd y tywydd yn hynod o boeth, ac aeth tri o honom i ymdrochi. Bu agos iawn i'r German oedd gyda ni foddi. Aeth i le rhy ddwfn, ac wedi iddo fod dros ei ben droion, a chan na allai nofio, aethym tuag ato, a chymerais afael yn ngwallt ei ben, gan godi ei wyneb o'r dwfr rhag iddo foddi; ond cariwyd ni ein dau gan y cenllif i lawr yr afon am chwarter milltir cyn y gallasom gyraedd y lan. Gwnaeth y Sais arlun o'r olygfa pan oedd y llif yn ein cario, a'r Kaffirs noethion yn rhedeg ar hyd glan yr afon. Gallaf ddweyd yn y fan yma fy mod yn arfer ymorchestu ynwyf fy hyn fel nofiwr.

Yr oedd genym eto tua 250 o filltiroedd i ben ein taith, a chychwynasom am dri yn y boreu, gan benderfynu peidio rhyfygu mwy, ac ymdrechu dyfod a'r *picnic* i ben. Aethom yn mlaen yn gyflym am dri diwrnod, er ei bod yn gwlawio braidd yn barhaus. Wedi llawer o galedi a cherdded drwy y llaid, cyrhaeddas-

om Junction River; ond yr oedd hono yn rhy uchel i ni allu ei chroesi, a buom yn aros am ddau ddiwrnod a dwy noson heb ddim i'w fwyta ond bara caled. Tynasom ein dillad oddiam danom, a rhoddasom hwy yn y gwageni, ac aethom oll i'r afon, yr hon oedd yn 200 o latheni o led, a rhyw'dair troedfedd o ddyfnder. Pan ar ganol yr afon, torodd llorp y wagen; a gorfu i ni fyned ag un i'r lan, a rhoddi ei llorp wrth y llall, a defnyddio yr holl fulod i dynu hono i'r lan. Buom ddiwrnod cyfan cyn cael pob peth dros yr afon. Wedi taith tri diwrnod drachefn, drwy wlawogydd, mellt a tharanau, cyrhaeddasom y *diamond fields* ar ol bod ar y ffordd am 29 o ddyddiau.

## PENNOD IV.

*Natur y tir lle ceir y diamonds—Cyfoeth y mwn-dwll—Diamonds Vaal River—Cyfarfod a Chymry—Manylion am y brodorion—Kaffirs, Hottentots, Korranas, Bushmen—Maesydd y diamond fel lle i ymfudo iddynt—Y cyflogau—Helyntion y mwnwyr—Ffortiwns sydyn—Darganfyddiad y diamond cyntaf, &c., &c.*

Rhaid i mi ddweyd fy mod wedi cael fy siomi yn South Affrica. Ni welais gymaint a choeden ar hyd y ffordd, hyd yn nod ar lanau yr afonydd. Nid oedd dim ond mân berthi a drain i'w canfod yn mhob man; ac anhawdd oedd cael tanwydd i ferwi y tegell. Nid oes arnaf byth eisiau teithio y ffordd hono eto. Hope Town ydyw y pentref olaf yn Cape Colony, ac mae'n agos i'r Orange River. Nid ydyw Kimberley, sef y lle yr oeddwn yn aros, ond tref o bebyll, a bwthynod gwaelion; ond mae yn cynwys tua 20,000 o bobl, a dwy ran o dair o honynt yn dduon, yn gwisgo ond y nesaf peth i ddim am danynt. Mae ychydig o bobl o bob parth o'r byd wedi ymgasglu yma. Mae yma lawer o Hottentots, Kaffirs, &c. Cytiau gwaelion oedd yr *hotels*, ac nid oedd lle i gysgu i'w

gael yn un man; ond yr oedd yno ddigon o le i fyrddio am o 30 swllt i dair punt yr wythnos. Bu raid i ni wneyd *tent* i gysgu ynddi; ac am nosweithiau cysgasom ar *billiard table*, ar draws ein gilydd.

Maent yn cael y *diamond*, sef y gareg ddysglaer sydd yn lloni llygaid pawb, mewn lle yn cynwys tua deg erw o dir, a hwnw mor grwn ag y gall fod. Ac yr oedd pan oeddwn yn ymadael tua 200 troedfedd o ddyfnder. Mae y rhan uchaf yn cynwys pridd coch, cymysgedig a graian a cheryg; ond yn y gwaelod y mae math o glai glâs, caled, a graian. Wedi dyfod i'r clai glas, bu llawer o werthu ar y *claims*, trwy fod y bobl yn credu y byddai i'r *diamonds* ddarfod hefyd. Ond ymddengys fod y lle yn gwella mewn cyfoeth fel y maent yn myned i lawr, ac y mae y *diamond* yn myned yn gliriach ac yn ddysgleiriach. Dywedir fod pawb sydd yn meddu *claim* yno yn perchenogi *fortune*. Mae y *claims* mor fân mewn rhai manau—dim ond 5 troedfedd wrth bump; ac maent yn gofyn miloedd lawer o bunau am eu hawliau. Cafodd un dyn pan oeddwn yno adamant 200 carat, gwerth £6,000. Dywedir mai 285 carat oedd y gareg *ddiamond* fwyaf a gaed yno o gwbl. Am hono caed £10,000; ond anfynych y mae rhai mawrion fel hyn i'w

cael. Rhaid cael miloedd o bunau i brynu rhan yn y *claim* hwnw.

Pan yr aethym yno gyntaf yr oeddynt yn codi cynwysiad y mwnglawdd i'r wyneb mewn bwcedi bychain ar raffau gwyfrau; ond nid oedd mwy na lloniad het yn dyfod i'r lan bob tro. Gweithir y rhaffau i fyny ac i lawr gan y Kaffirs, y rhai a droant olwynion bychain yn dra chyflym.

Yr oedd yno yr olygfa ryfeddaf a welwyd erioed, gan fod y mwn-dwll yn llawn o raffau a bwcedi bychain yn gwau drwy eu gilydd i fyny ac i lawr. Ymddangosai fel pe byddai dyn yn edrych ar dwll anferth yn llawn o we y pryf copyn, a'r bwcedi fel y pryfed yn myned drwy ei gilydd; ac oddiamgylch y twll yr oedd canoedd o Kaffirs noethion yn troi yr olwynion, ac yn gwibio yn ol ac yn mlaen. Yr oedd 7,000 yn gweithio yn ac o amgylch y mwn-dwll hwn, lluoedd o'r brodorion, a phobl wynion yn eu blaenori, ac yn gofalu na fydd iddynt ladrata y *diamonds*, drwy eu llyncu, neu eu cuddio. Ar ol i gynwysiad y mwn-dwll gael ei godi i'r lan, a'i *slacio* yn y tywydd, golchir y cwbl gyda math o beiriant a elwir yn *rotary machine*, ac wedi hyny chwelir ef ar fyrddau mawrion i'w chwilio yn fanwl am y meini gwerthfawr. Maent yn awr yn golchi

yr hen domenau a chwiliwyd yn sychion, ac maent yn talu yn well nag y talasant y tro cyntaf.

Yr oedd *diamonds* Vaal River yn ddysgleirach na'r *diamond* a godir yn Kimberley, a lleoedd eraill. Mae y rhai hyn dipyn allan o liw, ac yn anhaws i'w gwerthu; ond y maent yn gwella fel yr eir i lawr; ac yn ol adroddiad 1875, codwyd gwerth £10,000,000 o'r twll yn Kimberley! Mae Vaal River 60 milltir oddiyno, ac yn cael ei chwilio gan ganoedd o bobl yn barhaus.

I'r gwaith aur y cychwynais, lle a elwir Pilgrim's Rest, Transvaal, yn agos i Delego Bay, saith cant o filltiroedd o Kimberley. Dywedir nad ydyw y *gold fields* yn werth i'w gweithio, ac mae y rhan luosocaf o'r rhai a aethant yno wedi dychwelyd. Gwelais ddau Americanwr newydd gyraedd o'r aur gloddiau, wedi gwario mil o bunau ac heb gael dim. Yr oeddynt ar eu ffordd adref mewn siomedigaeth. Gwelais Mr. Sotherland, darganfyddydd yr aur, a bu ef dan lywodraeth y Transvaal am ddwy flynedd yn chwilio am aur. Dywed fod y wlad y ffordd hono yn tra rhagori ar yr hyn a welsom ni, gan fod yno ddigonedd o ddwfr a ffrwythau. Yr oedd efe ar gychwyn i Ganolbarth Affrica i'r un dyben.

Gan fod pethau mor anffafriol yn yr aur gloddiau, penderfynais roddi prawf ar fy ffawd yn Kimberley, am beth amser.

Cyn sylwi ar frodorion y parth anghysbell hwn—Kaffirs, Hottentots, Korranas, Bushmen, &c., nid annyddorol i'r darllenydd fydd gair am yr ychydig Gymru sydd yno—rhyw ddeg mewn rhifedi. Mae dau o'r rhai hyn o leiaf wedi cael gafael ar gryn lawer o gyfoeth; a gellir dweyd fod un o honynt yn gyfoethog, sef Mr. Hugh Owens, yr hwn oedd wedi enill iddo ei hun enw da, ac yn adnabyddus drwy yr holl gylchoedd. Hefyd y mae yn flaenllaw gyda phob peth buddiol, ond yn neillduol felly gydag achosion y llywodraeth. Y nesaf ato ydyw E. H. Jones, adeiladydd a masnachwr mewn coed, heblaw ei fod yn dal *claim* yn mwn-dwll, Kimberley. Bu hefyd yn dra ffodus drwy briodi boneddiges gyfoethog yn Cape Town; ac mae Mr. Jones felly yn werth eiddo mawr, er nad ydyw eto ond dyn ieuanc. Mae yma dri o Gymry mewn masnach, a Mr. Charles Williams ydyw un o honynt, yr hwn sydd yn y wlad hono er's llawer o flynyddoedd. Efe oedd un o'r rhai cyntaf yn mwngloddiau Vaal River; ac hefyd gellir dweyd mai efe oedd un o'r rhai cyntaf yn y Dry Diggings yma. Bu yn meddianu un o'r *claims*

goreu yn y "Detois Pan;" ond pan ddaeth son am yr aur yn Transvaal, gwerthodd allan ac aeth yno. Dychwelodd yn mhen blwyddyn heb ddim arian; ond yr oedd ganddo gyfeillion y rhai a'i cychwynasant mewn busnes; ac yno mae yn myned yn mlaen yn dda. Yr oedd Williams yn gymydog agos i Stanley, sef John Rowland, y teithiwr Affricanaidd, pan yn Nghymru; ac yr oedd yn ei adnabod ef a'i deulu yn dda iawn. Cyfrifa Mr. Williams, fod gwaith "Stanley" yn gwadu ei fam pan aeth i'w gyfarfod i Lundain, yn un o'r pethau mwyaf gwrthun mewn hanesyddiaeth.

William Evans, o Port Madog, Cymru, ydyw y nesaf y soniaf air am dano; ac fel Williams, gwerthodd yntau yr oll oedd ganddo i fyned i'r meusydd aur, a daeth yn ol heb ddim; ond yn awr y mae yn gwneyd bywoliaeth dda drwy brynu a gwerthu diamwnt. Cymro arall a fu mewn masnach yno oedd Mr. Reding, o Sir Fon; ac yr oedd ef a'i deulu wedi cael dysgeidiaeth dda, ond buont braidd yn anffodus yn y *diamond fields.* Hefyd, rhaid coffa am un arall yno, sef William Morgan—hen longwr o Gaergybi yr hwn oedd yn un o'r ymfudwyr cyntaf. Mae wedi enill llawer o olud bydol, ac wedi gwario llawer hefyd "am

yr hyn nad oedd fara;" ond yr oedd yn llawen a chysurus er hyny.

Mae amryw o'r Cymry yno yn arolygwyr dros y Kaffirs a weithiant i eraill; ac mae rhai yn chwilio am berlau yn yr Afon Vaal. Clywais am un o honynt yr wythnos ddiweddaf, fu yn ddigon ffodus i ddyfod o hyd i ddernyn o *adamant* sydd yn werth wyth gant o bunau, neu $4,000! Pa fodd bynag rhaid hysbysu iddo weithio yn ddiwyd am ddeng mis cyn cael dim; ac yr oedd eraill o'i amgylch er's mwy na hyny heb weled lliw *diamond.* Nid oes fel y gwelir, ond ychydig o'r Cymry wedi gwneyd eu ffordd i'r parth hwn o'r byd; ac nid yw yr oll o'r rhai hyny yn hyddysg iawn yn y Gymraeg; ond gallaf ddweyd fod y *Drych* yn myned o law i law yno, a phawb yn ei gipio gyda llawenydd; ie, hyd yn nod y rhai na fedrent ei ddarllen. Dangosent lawenydd mawr wrth weled darlleniad yn yr hen iaith anwyl yno yn nghanol anwariaid o bob ffurf, dull a math.

Mae yn hysbys i'r cyfarwydd mewn hanesyddiaeth fod amryw o wahanol lwythau o'r bobl a elwir Kaffirs yn y wlad hono. Maent yn siarad gwahanol ieithoedd, er eu bod yn gymydogion agos. Nid wyf am fanylu ar enwau y gwahanol lwythau, ac nid ydyw hyny

o fawr o bwys, gan mai un genedl ydynt, ac un gwaed, oll wedi dyfod o'r un fold; ac enw cyffredinol arnynt oll ydyw Kaffirs. Mae rhyw nifer o blith yr holl lwythau a drigianant rhwng Cape of Good Hope a Zambesi River, i'w cael yn y *diamond fields*; ond y Beckwanas a'r Zulu ydyw y rhai lluosocaf yn Kimberley, a'r amgylchoedd. Gan fod y Zulu yn gweithio ac yn byw gyda ni, yr wyf yn gwybod mwy am danynt hwy nag am y brodorion eraill. Hwn yw y prif lwyth ar y cyfandir Affricanaidd. Maent yn bobl luniaidd, o'r ffurfiad perffeithiaf a phrydferthaf o ran dullwedd, neu arddull corfforol. Pan oeddwn yno daeth haner cant o'r Zulu o'u gwlad frodorol, yr hon sydd i'r gogledd o Natal; ac yr oeddynt yn ddynion nodedig, oll tua'r un oedran, a rhai wedi dysgu Saesonaeg yn Natal. Anfonwyd am danynt i ddyfod yno yn heddgeidwaid, ac i edrych ar ol drwg-weithredwyr, y rhai ydynt yn gweithio i'r llywodraeth. Gan eu bod yn y swydd hono, rhaid iddynt wisgo rhyw fath o ddillad teneuon, am y chwe' diwrnod gwaith. Gan nad ydynt yn teimlo yn ddedwydd a naturiol mewn gwisg, taflant y cwbl ymaith ar y Sabbothau, a byddant yn eu dull brodorol yn hollol noethion. Cafodd llaw natur bob chwareu teg i

wneyd ei gwaith yn y perffeithrwydd mwyaf, heb wisgoedd tynion, yn ol y ffasiynau, i ddirdynu y corff allan o'i ffurf briodol. Mae eu haelodau yn iraidd a nerthol, wedi prifio i'w cyflawn ddadblygiad yn hollol ddirwystr. Gwelir eu gewynau a'u cyhyrau yn sefyll allan fel gwyfrau, yn arwyddocau nerth ac iechyd perffaith. Ni chyflawnasant galed-waith erioed, dim ond mwynhau eu hunain yn eu helfen, ac anadlu awyr iachus y cyfandir mawr hwn.

Nid ydyw eu lliw yn loewddu, eithr tuedda ychydig i gochddu; ac felly maent yn wahanol i'r negro pur. Mae eu geneuau, eu gwefusau a'u trwynau ychydig yn lletach na'r eiddo pobl wynion; ond nid ydynt yn debyg i'r Negro yn y parthau hyny o'u gwynebpryd. Er fod eu gwallt yn fyr ac yn grychlyd, nid ydyw yn wlanog, fel gwallt y Negro. Mae eu talceni yn uchel, llydain a mawreddog yr olwg arnynt; ac mae y gwyneb yn dangos tegwch a synwyr. Yr oeddwn yn meddwl fod yn resyn iddynt wisgo am danynt mewn hen ddillad carpiog, i guddio cyrff mor luniaidd; ac heblaw hyny y mae dillad yn boenus iddynt. Mae y llanciau a'r merched ieuainc yn ymddangos yn dda pan yn eu llawn arddurniadau, gyda *necklace* oddiamgylch eu gyddfau,

eu canolau a'i coesau, oll wedi eu gwneyd o'r *beads* mwyaf amryliw. Maent yn gwisgo hefyd yr hyn a alwant "*tails*," sef cynffonau y llewpart, y teigr, neu was y llew, wedi eu gwnio wrth eu gilydd, a'u rowlio am danynt. Bydd y merched ar rai adegau yn gwisgo adenydd yr estrys fel arffedogau, o'r tu blaen, ac mor isel a phenau y gliniau.

Mae y dynion yn anelwyr perffaith gyda'u picellau, sef eu prif arfau rhyfel, y rhai a dafllant at y nôd mor ddifeth a'r saethwr goreu gyda'i wn. Ni fuaswn byth yn coelio fod neb yn gallu gwneyd y fath orchestwaith, heb i mi eu gweled fy hun. Rhoddasom saeth-nod iddynt i daflu ato, yr hwn oedd o faint haner coron, yn y pellder o 30 o latheni; ac anelodd 12 o honynt y nod a'u picelli? Daeth pob un o fewn llai na chwarter modfedd i'r marc. Taflodd un ei bicell i'r nod bedair gwaith yn olynol. Mae ar ddrwg-weithredwyr ofn y picellau, a bydd yr heddgeidwaid yn cario llonaid eu dwylaw o honynt, yn barod i'w taflu ar ol llofrudd neu leidr.

Mae y brodorion yno yn defnyddio tobaco a thrwyn-lwch, ond gan eu bod yn noethion, nid oes ganddynt le i gario dim gyda hwy; eithr dyfeisiasant ddull rhyfedd i gario snisin a thobaco. Mae ganddynt flwch crwn tua phed-

air modfedd o hyd a dwy fodfedd mewn amgylchedd; ac maent wedi tori tyllau yn eu clustiau, yn y rhai y rhoddant y blwch yn cynwys y snisin i'w gario. Bydd y blwch tobaco yn un glust, a'r snisin yn y llall. Wrth weddio ar eu duw dychymygol y byddant yn smocio. Cymerant swm o glai a gwnant dwll yn y ddaear i'w roddi ynddo, a thwll yn y clai i ddal y tobaco; wedi hyny gwnant gorn, neu bibell dwy neu dair troedfedd o hyd, fel simdde; ac wedi tanio y tobaco, sugnir y mwg. Rhaid iddynt gael dwfr wrth smocio; tra yn nghanol y mwg, ac heb gymeryd eu hanadl, cymerant lymaid o ddwfr, yr hwn yn fuan a boerir allan. Ar ol hyn, dechreuant weddio mor fuan ag y gallant barablu, heb ail gymeryd eu gwynt. Ant yn mlaen i gymeryd cegaid o fwg, yna llymaid o ddwfr, ac wedi hyny gweddio cyhyd ag y gellir heb ail anadlu. Mae yn ymddangos mai y dyn hwyaf ei wynt ydyw y gweddiwr goreu.

Mae yma rai Kaffirs wedi derbyn rhyw gymaint o'r hyn a alwn ni yn wareiddiad, a'r cenadon efengylaidd wedi eu dysgu i ganu yr "Hen Ganfed," a phenillion o wahanol nodweddau; ac mae amryw o honynt yn perchenogi llyfrau yn eu hiaith eu hunain. Ond wedi'r cwbl yr oeddwn yn methu gweled fod

y rhai hyny ddim gwell mewn unrhyw fodd na'r rhai na chlywsant air erioed o son am grefydd na Christionogaeth. Mae arnaf ofn fod llawer o'r brodorion a gawsant eu dwyn i gredu yn y cenadon, wedi cael eu siomi yn y bobl wynion. Dysgodd y cenadon hwy i gredu nad oes gwahaniaeth ger bron Duw pa liw fydd yr hwn a gredo; a bod yr efengyl yn dysgu ei phroffeswyr i ymddwyn tuag at eu gilydd fel brodyr. Arweiniodd hyn y brodorion i feddwl yn uchel am y bobl wynion, ac i ddysgwyl llawer oddiwrthynt, a'u bod oll yn dyner a diniwed fel y cenadon eu hunain. Ond maent wedi eu mawr siomi, gan na chânt fwy o barch yno na'r cwn gan y bobl wynion; ac heblaw hyny y maent yn cael eu hysbeilio a'u twyllo yn erchyll; ac mae hyn yn arwain y Kaffirs i feddwl fod efengyl a gwareiddiad y bobl wynion yn niweidiol a pheryglus.

Mae y Kaffirs, fel gweithwyr, cystal ag y gellir dysgwyl iddynt fod; ac maent yn aml yn gweithio yn ffyddlonach, ac yn galetach na'r bobl wynion. Maent yn gryfion ac atebol i weithio. Maent yn hoff o ymborthi yn dda, a bwytant gig o bob math. Tua dechreu mis Gorphenaf, daeth gwynt oer ac ychydig o eira i ymweled a ni, a dyna y tro cyntaf i'r

nifer lluosocaf o'r Kaffirs weled eira erioed. Yr oedd y syllu ar yr eira gwyn, glân, yn rhyfeddod i bawb, gan na wyddent ar y ddaear beth ydoedd. Ofnodd un o honynt yn enfawr wrth weled yr eira yn dyfod i lawr; ond pan beidiodd a bwrw, rhedodd Jack yn hollol noeth i chwareu yn yr eira. Er eu bod yn frodorion gwlad boeth, gallant sefyll oerni yn dda, ac yn well nag y gallaf i. Maent yn gyffredin yn tynu pob peth oddi am danynt wrth fyned i gysgu; ac ymddengys y byddant yn gysurus yn noethion ar y llawr, tra y byddwn i yn oer yn aml mewn gwrthbanau da. Pan gymerant grwyn llewpartiaid am danynt, rhoddant yr ochr flewog yn agosaf i'w croen, a phlygant y crwyn dros eu traed a'u penau yn gwbl, a chysgant yn dawel felly.

Mae yr Hottentots yn wahanol i'r Kaffirs; ond cyfrifir hwy yn mhell yn mlaen mewn dealldwriaeth a gwareiddiad, o herwydd, y mae yn debyg, am eu bod yn gwisgo rhyw fath o ddillad am danynt, ac wedi bod yn mysg yr Is-Ellmyniaid am fwy o amser na'r Kaffirs, a thrwy hyny yn gallu siarad yr Ellmynaeg; maent yn debycach i'r Chineaid nag i unrhyw lwyth arall, ond eu bod yn hyllach o lawer. Yr Hottentot, wedi iddo fyned yn hen, ydyw y bod dynol hyllaf y gellir dych-

ymygu am dano; ac yr wyf yn meddwl ei fod yn hyllach na phechod ei hun. Mae esgyrn eu gwynebau yn fawrion ac onglog; ac fel yr heneiddiant, treulia y cnawd ymaith, a bydd y croen yn grebychlyd a thorchog, a'r olwg arnynt yn hagr ac annymunol i'r eithaf.

Hawlia yr Hottentots mai hwy ydyw gwir frodorion South Affrica, a sefydlwyr gwreiddiol y wlad. Oddeutu 300 o flynyddoedd yn ol, nid oedd neb ond y bobl hyny i'w cael yn y parth hwnw o'r cyfandir; ar y pryd hwnw yr oeddynt yn genedl gref. Daeth y Kaffirs i'r wlad o'r parthau mwy mewnol, a bu rhyfeloedd gwaedlyd rhyngddynt am lawer o oesau, nes o'r diwedd i'r Hottentots gael eu gorchfygu. Poblogwyd y wlad yn raddol hefyd ganddynt; ac mae llid angerddol yn parhau hyd heddyw rhwng y ddau lwyth. Tybia yr Hottentots eu hunain yn llawer uwch a gwell yn mhob modd na'r Kaffirs, yr hyn sydd yn cadw y llid yn fyw rhyngddynt.

Dywedaf air am lwyth arall o bobl a drigianant yma, sef y Korranas, y rhai hefyd a honant eu bod hwythau yn frodorion gwreiddiol Deheubarth Affrica. Mae yn ddiameu eu bod yn dal perthynas agos a'r Hottentots. Ond mae iaith y bobl hyn yn hollol wahanol, ac yn un o'r rhai mwyaf anhawdd i'w

dysgu ar wyneb y ddaear, drwy ei bod yn llawn o gleciau, fel ticiadau awrlais. Nid oes modd ei sillebu na rhanu ei geiriau gan mai clec clec, o wahanol raddau o swn a wneir wrth siarad; ond y maent yn deall eu gilydd yn berffaith. Mae eu swn wrth siarad yn debyg i'r swn fydd rhai yn wneyd o daflod eu genau wrth yru ceffylau. Mae y bobl hyn yn fwy o gyfeillion i'r Hottentots, na'r Kaffirs; ac felly y maent yn eu plith yn amlach. Ceir y bobl hyn ar lanau yr afonydd. Maent yn debyg i'r Hottentots yn eu lliw; ond o herwydd fod eu gwynebau yn llawnach, ac esgyrn eu bochau yn is, y maent yn ymddangos dipyn yn harddach yn eu gwynebau; ond fod eu cyrff yn hollol annymunol.

Bushmen y gelwir llwyth arall sydd yno, sef enw a roddodd y Saeson arnynt. Enw Ellmyniaid ydyw Boojisman; ond beth bynag y mae y bobl hyn yn Ethiopiaid yn mhob peth. Diau mai dyma y dosbarth isaf o fodau dynol ar wyneb y ddaear; a phe buasai Mr. Darwin yno buasai yn sicr o ddangos fod perthynas agos rhwng y Bushman a'r *baboon*, fel yr hona llawer, gan nad ydynt yn rhagori ond ychydig ar y dyn-fwystfil hwnw. Mae gan yr holl lwythau eraill ryw fath o le i fyw a chartrefu, sef *kraals* neu fythod; ac maent yn gweithio,

a chodi anifeiliaid, gan lafurio ychydig ar y tir, ond ni wna y Bushmen ddim yn y byd. Ni roddant eu llaw ar ddim, ac nid oes modd eu cael i weithio ar unrhyw dir. Bywiant yn y coed, ac ymborthant ar wreiddiau a ffrwythau, cnau, cig amrwd unrhyw greadur a allant ddal, &c. Dyma yr unig lwyth yn Affrica sydd yn bwyta y *baboon*. Maent heb fath yn y byd o dai na bythynod, ac i'w cael yn y parthau gwylltaf, ar y mynyddoedd, ac yn yr anialwch, os bydd yno ddigon o helwriaeth, bwystfilod ac adar. Trigant mewn ogofeydd a thyllau yn y ddaear. Tra ar yr anialwch cloddiant dyllau i'r ddaear ac yn y rhai hyny bywiant fel tyrchod daear; ac os na allant gael ogof na thwll, llechant yn nghysgod coed neu greigiau. Maent ychydig yn oleuach eu lliw na'r Korranas a'r Hottentots, ond yn ofnadwy o hyllion; ac maent yn llai eu cyrff na'r ddau lwyth a nodais. O bedair troedfedd i bedair a haner ydyw ei taldra yn gyffredinol. Lladron digyffelyb o gyfrwys ydyw y Bushmen yn nghyflawn ystyr y gair; a dangosant y cyfrwysdra mwyaf wrth ladrata defaid, gwartheg, a phob peth arall oddiar yr Ellmyniaid a'r Kaffirs. Ni chydweithreda yr Hottentots a'r Kaffirs â'r Ellmyniaid mewn dim ond wrth ladd Bushmen. Dyma eu *sport*

mwyaf; ac maent wedi llwyddo i ddinystro y mwyafrif o honynt. Hefyd y mae y Bushmen wedi difa llawer o honynt hwythau; ac mae hanes y gwyr bach hyn mewn rhyfel yn dra rhyfeddol. Maent yn meddu saethau gwenwynig marwol, y rhai a allant daflu at eu gwrthwynebwyr gyda sicrwydd difeth. Mae y defaid yn pori mewn *sage brush* yno, neu mewn gwellt gwyn troedfedd neu ddwy o hyd, a elwir yn *Bushmen's grass*; ond pa le bynag y byddant, llwydda y Bushmen i'w lladrata, er holl ofal y bugeiliaid. Dyma eu gwaith, sef cadw y defaid rhag y lladron hyn, gan eu bod yn waeth na bwystfilod rheibus. Llwyddant yn aml i lofruddio y bugeiliaid heb i neb fod yn y golwg; ac ni fyddant yn gweled nac yn teimlo dim, hyd nes yr ymgripia y Bushmen yn ddystaw fel neidr drwy y gwellt atynt. Wedi dyfod yn ddigon agos at y bugeiliaid taflant y gwenwyn, a marwolaeth fydd y canlyniad sicr. Dangosant gyfrwysdra anarferol, a medrusrwydd anghyffredin wrth ladrata, ac ymladd. Dyma yr unig bobl ydynt yn alluog bob amser i ddal a lladd y cawrfil.

Hefyd hwy ydyw helwyr yr estrys, a dylai merched y byd gwareiddiedig fod yn ddiolchgar i'r rhai hyn am y plyf gwynion a ddefn-

yddiant i brydferthu eu hunain. Nid oes neb ar y cyfandir hwnw a all lwyddo cystal a'r Bushmen i ladd yr estrys. Mae nyth yr estrys yn hynod o fawr, gan y bydd amryw yn dodwy yn yr un nyth; ac mewn trefn i'w dal, gwna y Bushmen dwll yn y ddaear yn ymyl y nyth; yna, pan ddaw yr estrys yno, rhuthrant arno, a lladdant ef. Maent yn fynych yn dal yr estrys trwy roddi eu hunain mewn gwisg yr estrys ac yn gwneyd eu hunain mor debyg i'r adar hyny, fel y meddyliant mae un o honynt hwy ydynt; ac yn y dull hwn maent yn gallu myned i'w canol a'i lladd.

Bu y cenadon yn ceisio gwareiddio y Bushmen, a'u dwyn i ystyried mai bodau dynol ydynt; ond methwyd a gwneyd dim byd o honynt, ac maent wedi eu gadael i'w tynged.

Er fod yr amser goreu i enill cyfoeth wedi myned heibio cyn i mi gyraedd Kimberley, sef y dref a enwyd felly o anrhydedd i Lord Kimberley, eto yr oedd yn well lle i bobl sobr a gweithgar nag un lle arall y bum ynddo erioed. Yr oedd y cyflog i saeri coed, neu ofaint o 30 i 50 swllt y dydd; cyflog mwnwyr am suddo ffynonau a *shafts*, neu rywbeth o'r fath oedd 25 swllt y dydd. Yr oedd y cyflog am wylio y brodorion rhag lladrata y *diamonds*,

yn bunt y dydd; a chyflog yr heddgeidwaid yn bymtheg punt yn y mis, a chartref. Yr oedd yn hawdd i bobl sobr gael gwaith yno ar y pryd. Deallais fod llawer wedi myned yn gyfoethog iawn, mewn ffordd anghyfreithlawn, drwy brynu *diamonds* a ladratawyd gan y brodorion. Yr oedd llawer iawn o ladrata yn myned yn mlaen, er mor afalus a llygadog y gwyliai y bobl wynion y brodorion. Yr oeddynt yn lladrata tra yn gweithio yn y mwn-dwll; ac er eu bod yn cael eu cadw yn noethion, y mae yn ffaith sicr, eu bod yn gallu lladrata llawer iawn o'r meini gwerthfawr mewn dulliau tra hynod. Gwerthid hwy yn aml am symiau bychain iawn, i bobl anonest, y rhai oeddynt yn cadw *canteens* neu *saloons*. Mae yn sicr fod ugeiniau lawer o'r *canteen keepers* wedi dychwelyd i wlad eu tadau gyda chyfoeth mawr, a ddaethant yn feddianol arno drwy brynu *diamonds* a ladratawyd gan y brodorion oddiar feddianwyr y mwngloddiau, a'r llywodraeth. Daeth y perchenogion a'r llywodraeth i gydweithredu o ddifrif, er rhoddi terfyn ar y lladrad hwn. Yn y lle cyntaf, yr oedd y brodorion i gael eu chwilio pan yn gadael y mwn-dwll; ac wedi hyny yr oedd heddgeidwaid i ofalu am danynt yn nosweithiol er cadw pawb draw, a'u

hatal i fyned i'r mwn-dwll yn y nos. Rhoddwyd ugeiniau o hedd-geidwaid dirgelaidd i wylio y rhai mwyaf amheus, yn wyn ac yn ddu, yn brynwyr a gwerthwyr; ac yr oedd cyfraith wedi eu gwneyd i roddi dwy flynedd o garchariad, gyda llafur caled i pwy bynag a fyddai yn euog o brynu *diamonds* gan y brodorion. Hefyd yr oedd blwyddyn o garchariad i pwy bynag fyddai yn euog o brynu *diamonds* gan berchenogion mwn-dyllau, os na fyddai ganddo drwydded oddiwrth y llywodraeth i brynu. Dylanwadodd y cyfreithiau hyn i wneyd daioni mawr drwy ddwyn llawer o'r prynwyr anonest i'r golwg; a thrwy gyfrwysdra y *detectives*, llwyddwyd i ddal llawer iawn yn y weithred o ladrata, ac amryw o honynt yn bobl wynion, ac yn aelodau eglwysig, heb amheuaeth am eu cymeriadau yn flaenorol. Un o honynt oedd Mr. Tucker, golygydd y newyddiadur yn Kimberley, a'r hwn oedd yn un o aelodau o'r cyngor a wnaeth y cyfreithiau yn erbyn hyny; ac felly cafodd ei ddal yn ei rwyd ei hun. Yr oedd rhywrai yn cael eu dal yn ddyddiol, ac yr oedd y llys yn llawn o gyffro yn barhaus. Eithr er holl ddoniau y cyfreithwyr i gadw y troseddwyr rhag cael eu cosbi, nid oedd hyny nac arian, na dim arall, yn ddigon i ddylanwadu ar y llys i beidio

rhoddi y gyfraith mewn grym. Byddai y rhai a geid yn euog yn cael eu hanfon i weithio yn eu dillad brithion a chadwen am eu coesau, i wneyd heolydd newyddion, a thrwsio yr hen rai, gyda phob gwaith o'r fath.

Yr oedd dwy flynedd o gosbedigaeth fel hyn i'w hofni; ac yr oedd yn amlwg i berchenogion y mwn-gloddiau fod hyn wedi gwneyd lles dirfawr. Eto yr oedd yr un mor amlwg iddynt hwy a hyny, fod canoedd o ddynion gyda miloedd o bunau yn eu llogellau, oeddynt yn perthyn, mewn gwirionedd, i berchenogion y mwn-dyllau. Mewn canlyniad i ddylanwad daionus y deddfau, a thrwy fod offerynau yn cael eu defnyddio yn y mwn-dyllau, yr oedd y perchenogion mewn llawer gwell cyflwr pan oeddwn yn ymadael nag yr oeddynt ar yr amser yr aethym yno.

Dygodd amryw gwmniau beirianau da i'r gweithfeydd, a'r rhai cyntaf oeddynt B. G. B. & Atkins, y rhai oeddynt yn dra chyfoethog. Daethai Mr. Atkins yno o Australia, a chyn hyny o America; ac iddo ef y rhaid diolch am yr offerynau golchi, a'r *horse whims.* Rhoddodd y cwmni hwn beiriant mawr ac ardderchog i fyny yno. Costiodd cludiad yr holl offerynau o Port Elizabeth i Kimberley, 1,200 o bunau; yr oedd yr holl gostau erbyn

gorphen y gwaith yn 15,000 o bunau. Maent wedi cloddio *shaft* 200 o droedfeddi o ddyfnder, a tua 350 o droedfeddi o'r mwn-dwll, neu y gwaith; o waelod y *shaft* rhedir twnel i'r mwn-dwll. Drwy y twnel a'r *shaft* y mae cynwysiad y gwaith i'w godi i wyned y tir, drwy nerth y peiriant crybwylledig. Mae ganddynt ddigon o arian i fyned yn mlaen, ac mae eu ffydd yn gref yn nghyflawnder yr adamant. Diau y bydd iddynt ddal yn mlaen ar bob cwmni arall yn y lle hwnw.

Mae cwmni arall wedi dal ei dir yno, sef Lewis & Marks, ac yn meddianu y peirianau a'r *claims* goraf yn y lle.

Pan oeddwn yn ymadael yn niwedd 1876, yr oedd deg o agerbeirianau yn codi cynwysiad mwn-dwll Kimberley; ac yr oedd hyny yn fil rhagorach na rhyw chwareu plant gyda'r bwcedau bychain, fel yr oeddynt yn flaenorol. Yr oedd gan un cwmni ffordd haiarn ar osgo, yn rhedeg i lawr i waelod y mwn-dwll. Nid oedd tir neb arall yn fanteisiol i wneyd hyny. Heblaw hyny yr oedd cynllun B. G. B. & Atkins i weithio y mwn-dwll yn fwy hwylus a chyflymach; ac felly mae y cynllun hwn yn debyg i droi allan yn llwyddianus. Pan agorwyd y mwn-dwll gyntaf, ac am ddwy flynedd wedi hyny, yr oedd y dwfr yn brin iawn,

a chostiai o haner coron i dri swllt y bwcedaid; ac o herwydd hyny nid oedd ond ychydig iawn yn cael ei olchi. Eithr ar ol hyny daeth cyflawnder o ddwfr yn hawdd i'w gael, drwy gloddio am dano. Yn fuan y testyn pwysicaf oedd, cael cynllun i gadw y dwfr o'r mwn-dwll, o herwydd fod y dwfr yn cynyddu fel y cloddid yn ddyfnach i'r ddaear. Mewn canlyniad i gyflawnder o ddwfr, ail olchir y tomenydd rwbel a chwiliwyd yn sychion yn y dechreu, tra yr oedd yn anmhosibl cael dwfr. Maent yn aml yn dal; ac maent yn talu yn well na'r tro cyntaf.

Adroddir hanes tra hynod am lawer wedi dyfod o hyd i'r *diamonds* mewn dulliau rhyfedd iawn, megys y teiliwr o New York, yr hwn oedd mor dlawd fel y bu raid iddo gerdded o Cape Town i Kimberley; a phan gyrhaeddodd yno, yr oedd ei draed drwy ei esgidiau, heb nac arian na chyfeillion. Cymerodd dyn dyeithr drugaredd arno, ac aeth ag ef i'w fwthyn oedd wedi ei doi a llaid. Yn y boreu cododd y cyfaill i fyned at ei waith, gan adael y teiliwr i gysgu, o herwydd yr oedd yn flinedig iawn ar ol y daith. Eithr wedi iddo ddeffroi, a phan yn syn-fyfyrio, gwelai rywbeth yn dysgleirio yn nghanol y llaid yn y to, ac wedi cymeryd gafael ynddo, cafodd mai

*diamond* o'r fath oreu ydoedd! Gwerthodd ef y diwrnod hwnw am 5,000 o bunau, a rhoddodd 500 punt i'w letywr am ei le y noswaith hono! Dychwelodd i America yn uniongyrchol ar ol ei ffawd dda. Adroddir hefyd am Ellmyn a bigodd i fyny *diamond* wrth yru ychain, oedd yn werth deunaw cant o bunau. Dywedir am ddau o forwyr Prydeinig ddaethant yno, ac wrth rodio oddiamgylch gerllaw y mwn-dwll pigasant i fyny *diamond* a brofodd yn werth dwy fil o bunau! Mae ugeiniau o ferched wedi gwneyd cyfoeth mawr wrth gadw adar dofion, megys twrcis, ieir, &c., y rhai a arferant lyncu pob gwrthrych dysglaer; ac felly arferent lyncu *diamonds*. Wedi eu lladd deuwyd o hyd i'r meini gwerthfawr yn eu crombil.

Darganfyddwyd y *diamonds* gyntaf yn South Affrica gan Hottentot. Yn 1865, tra yn gwylio defaid ei feistr, yr hwn oedd Ellmyn, ac yn agos i'r Afon Vaal y cymerodd hyny le. Cododd oddiar y ddaear yr hyn a elwai *mwi clip*, sef careg brydferth, oedd yn dysgleirio fel y grisial, eithr ni feddyliodd ei bod yn werth dim. Aeth a hi adref yn yr hwyr a dangosodd hi i'w feistr. Syrthiodd yr Ellmyn mewn cariad a'r gareg dlos ar unwaith, o herwydd ei dysgleirdeb, a'r wythnos ganlynol

aeth ar neges i'r pentref agosaf, sef Hopetown; ac aeth a'r gareg gydag ef i'w dangos i'r prif farchnadwr, Mr. Lillenfelt, eithr nid oedd neb yn gwybod beth ydoedd. Cofiwyd fod un dyn yn y pentref, oedd wedi treulio ei amser boreuol fel torwr *diamonds* yn Amsterdam, ac aeth Mr. Lillenfelt a'r gareg iddo. Wedi ei harchwilio, dywedodd y dyn hwn mai *diamond* o'r fath oreu ydoedd, a'i bod yn werth yn awr fel yr oedd £12,000, canys pwysai 63 *carats*. Aeth Mr. Lillenfelt yn ol at yr Ellmyn, a rhoddodd iddo 2,000 o bunau am y gareg brydferth. Dranoeth prynodd yr Ellmyn wêdd o ychain a 100 o ddefaid, ac aeth a hwy adref i'r bugail da am ddarganfod y *mwi clip*, yr hyn a wnaeth i'r bugail lamu o lawenydd. Yr oedd y bugail yn awr, yn ol eu dull hwy o gredu, wedi cael ei wneyd yn ddyn cyfoethog am ei oes.

Gwerthwyd y diemwnt prydferth hwn i fasnachwr mewn meini gwerthfawr, o Lundain, a rhoddodd yr enw Star of South Africa ar yr adamant. Yr oedd yn deilwng o'r enw, canys daliodd y gareg i'w thori a'i chaboli yn gampus. Gwerthwyd y diemwnt dan sylw i Dywysog Cymru am bymtheg mil o bunau. Nid oedd gan y tywysog arian i dalu i lawr am y gem gwerthfawr, ar y pryd, neu

o leiaf nid oedd yn foddlon i dalu i lawr, a chan nad oedd y masnachwr yn dewis derbyn ei addewid i dalu, cymerodd y gareg yn ol a gwerthodd hi, os wyf yn cofio yn iawn, i Ardalydd Lorne. Aeth hanes am ddarganfyddiad y diemwnt hwn dros yr holl fyd yn dre buan, ac yn y cyfamser daeth canoedd o bobl o Ewrop, America, Australia, a gwahanol barthau y byd, i Affrica, i chwilio am emau, a meini gwerthfawr. Nid oedd neb yn gwybod yn y dechreu mewn pa fath le i chwilio am y diemwnt. Barnai rhai mai yr estrysod a'u pigasant i fyny yn mharthau canol y wlad, ac a'u bwriasant allan o'u crombil mewn gwahanol fanau; ac mewn canlyniad nid oedd gan neb reol na threfn wrth chwilio am y meini gwerthfawr. Arferai rhai chwilio am danynt gyda llusernau yn y nos, gan feddwl y buasent yn dysgleirio yn y goleuni, ac felly na chawsid llawer o drafferth i ddyfod o hyd iddynt. Yn y cyfamser daeth yr archwilwyr i ddeall fod mwy o honynt i'w cael ar lanau yr afonydd nag mewn unrhyw le arall, ac felly arweiniwyd y bobl at yr Afon Vaal. Yn yr afon hon bu canoedd yn dra llwyddianus i ddyfod o hyd i lawer o feini gwerthfawr wrth olchi y graian, a phigo y diemwnt allan o hono. Bu hyn yn fodd-

ion i wneyd i'r bobl gredu fod y dwfr wedi cario y diemwnt yno o ryw le; eithr nid oedd neb yn gwybod o ba le; ond ar ol darganfod y mwndwyll diemwnt yn Kimberley, lawer o filltiroedd oddiwrth yr afon, ac ar dir uchel, dechreuoedd y bobl gredu yn wahanol am ffynonell yr adamant.

Crybwyllais o'r blaen mai math o glai caled sydd yn y ddaear yn mwn-dwll Kimberley, tra y mae ffurfiad haenenol y wlad oddiamgylch yn hollol wahanol; ac mae yn ymddangos nad oes neb eto wedi cael allan pa mor ddwfn y mae y clai hwnw yn myned i'r ddaear. Dichon pe deuent i'r gwaelod y profai y mwn-dwll yn ddiwerth o herwydd absenoldeb y diemwnt.

Pan ddarganfyddwyd y diemwnt, yr oedd y tir yn perthyn i'r Orange River Free State, ond yr oedd y Dalaeth uchod, a elwir hefyd yn Dutch Republic, wedi bod dan lywodraeth Lloegr, drwy i Syr Harry Smith ei chymeryd oddiarnynt. Eithr gan nad oedd elw neillduol i'w gael oddiwrth y Dalaeth, a bod Lloegr mewn helbul parhaus gyda'r brodorion, gadawyd iddynt ei chael yn ol. Wedi darganfod y diemwnt cymerodd Lloegr ail feddiant o'r rhan hono o'r Free State sydd yn cynwys y diemwnt, ac mae yn 16,630 o

filltiroedd ysgwar mewn arwynebedd, ac adnabyddir y Drefedigaeth yn awr wrth yr enw Griqualand West. Gan fod llywodraeth y Free State yn wan, oferedd oedd iddi wrthwynebu rhaib y llew Prydeinig. Eithr yn 1875 llwyddodd Mr. Brant, Arlywydd y Free State, i osod y pwnc o flaen gallu cyfryngol, a dewiswyd Ffrainc; a'r canlyniad fu i Ffrainc ddyfarnu fod yn ofynol i Loegr dalu 90,000 o bunau fel iawn i lywodraeth y Free State. Dyna fel y deuwyd i ddealldwriaeth ar anghydfod fu yn ymddangos yn fygythiol ar un adeg.

Rhyw fywyd rhyfedd iawn ydyw y *camp life*, ac nis gall y dibrofiad ddychymygu yn iawn am dano. Aeth y cyfeillion oeddynt yn dyfod gyda mi yno i ffwrdd i'r mwngloddiau yn Vaal River; ac felly cefais fy ngadael fy hunan. Y peth cyntaf a wnaethym oedd prynu *tent* mewn *auction*, am bedair punt, a chytuno gyda thri o'r Kaffirs i fy nghynorthwyo, sef Jack, January, a March. Cariasant y *tent* i le priodol, ar ochr ogleddol y pentref, a chodasant hi i fyny, yn ol dull cyffredin y wlad, ar uchder tir dymunol. Ar ol myned i mewn i'r babell, cefais nad oedd y polyn canol ond pum' troedfedd o uchder; a'r *tent* yn saith o hyd a chwe' troedfedd o led. Can-

fyddais ynddi hefyd lawer iawn o dyllau; a thrwy fod yn rhaid i mi aros yn fy nghwman ynddi yn barhaus, anhoffais hi yn fawr. Gan fod yn anhawdd cael *tent* arall, a chan nad oeddwn yn bwriadu aros yn y lle ond dros amser byr, penderfynais ymdrechu myned yn mlaen am dipyn o amser oreu y gallwn. Prynais wely haiarn am bunt, a *mattress* am yr un bris. Hefyd prynais daclau coginio, padelli, crochanau, tegell, cyllell a fforch, llwyau, a phob peth angenrheidiol, yr hyn a gostiodd £2 15s. Cyfarfyddais â masnachwr newydd ddyfod i'r lle o wlad y bwystfilod gwylltion, gydag ifori, crwyn, plu yr estrysod, a chwrlidau wedi eu gwneyd drwy wnio yn nghyd amryw grwyn, gydag edafedd o grwyn, a nodwydd o asgwrn. Dyma hilin gwely campus; a syrthiais mewn cariad ag un oedd ganddo wedi ei wneyd yn ysblenydd o groen brych y llewpart, wedi ei brydferthu yn hardd gan drigolion y Zambezi River. Telais bum' punt am hwnw yn y fan. Gwnaed hwn o bump o grwyn prydferth, wedi eu gwnio yn eu gilydd gan y brodorion, a hyny mor gywrain fel nas gellid gweled y cysylltiadau. Cymerais yr holl gelfi, y dillad, yr ymborth, ac yn y blaen, i'r babell; ac yr oeddwn yn falch o fy margen gyda phob peth ond y

gwely haiarn. Yr oedd hwnw fel pe buasai wedi ei ddadgymalu, bob cymal o hono, fel nad oedd yn ddichonadwy ei gael i sefyll ar ei draed i daenu y cwilt newydd drosto, heb son am fyned i gysgu iddo. Pa fodd bynag, gadewais y cwbl yr amser hwnw, ac aethym allan i brynu te, siwgr, &c., ac i chwilio am focs er ei wneyd yn gist i gadw y taclau, ac yn fwrdd hefyd. Wedi dychwelyd i'r babell, a rhoddi tipyn o adgyfnerthiad i'r dyn oddimewn, penderfynais orwedd ar y gwely newydd i synfyfyrio am bethau, ac i fwrw y draul yn gyffredinol. Nid cynt y teflais fy hun ar y gwely, nad oeddwn yn lleban i'r llawr, ar amrantiad. Syrthiodd hwn i lawr, er fod chwech o draed dano, dau yn mhob pen a dau yn y canol, ond er hyny i lawr yr aeth.

Wel, dyma fi yn nghanol pobl dduon Affrica, yn adfyfyrio am hawddfyd fy nghyfeillion yn Ewrop ac America; ac nid oedd dim ond awyddfryd am y perlau prydferth, y meini gwerthfawr a'r aur melyn, a allai fy nghadw yn y fath alltudiaeth. Yr oedd y tri Kaffirs, fy ngweision, mor ddedwydd ag angylion gwlad y gwawl, er eu bod yn gweithio yn lled galed, a hyny yn y wisg a roddodd natur ei hun iddynt.

Rhoddais brawf da arnaf fy hun fel pen

cogydd, a'r pethau goreu allwn wneyd oedd te a choffi, a chefais ddigon o amser i ddysgu ar y ffordd yno o'r Cape. Yn y lle hwnw yr oedd yn rhaid i de y boreu, ganol dydd a'r hwyr, wneyd y tro, gyda bara ac ymenyn, mân-bysgod, *jams*, &c. Bwyteais fwy o *sardines*, ac yfais fwy o de, yn yr ychydig fisoedd y bum yn gwersyllu, nag a wnaethym mewn chwe' blynedd cyn hyny.

Yn y cyfamser blinais ar yr un ymborth, ac yr oeddwn yn gweled nad oedd bywyd y gwersyll yn dygymod a mi yn dda; ond cyn tori pob peth i fyny, penderfynais amcanu gwneyd pwdin reis. Nid oeddwn wedi dal sylw ar neb yn ei wneyd, ac felly heb ddeall y ffordd yn dda. Pa fodd bynag rhoddais haner llonaid y crochan ar y tân, a dwfr arnynt, a gorchymais i'r Kaffirs gadw tân danynt i'w berwi. Aethym i orphwys, ac i ddarllen hanes Job, yr hwn fu mewn trallod mawr yn mhen arall y wlad hono. Yn y cyfamser dyma y Kaffir yn galw arnaf, ac wedi myned yno gwelais fod y reis wedi chwyddo agos yn llonaid y crochan. Prysurais i roddi *currants* a *raisins* a siwgr yn y pwdin, ac wedi rhoddi mwy o ddwfr arnynt, gorchymynais i'r Kaffir barhau i danio danynt. Aethym i ddarllen drachefn; ond yn mhen

enyd o amser galwodd y Kaffir yn uwch nag o'r blaen, a rhedais yno. Er fy syndod gwelwn fod y reis wedi chwyddo, a rhedeg drosodd i'r tân. Llenwais lestri eraill i gadw y pwdin o'r tân, ie, bob llestr oedd genyf, hyd yn nod y tegell; ac er hyny chwyddo yr oedd y reis! Wedi yr holl helbul a'r trallod, canfyddais nas gallwn fwyta y pwdin, gan fod peth o hono heb ferwi digon, a pheth wedi llosgi. Rhoddais y cwbl i'r Kaffir, i'r ci, ac i'r *baboon;* ac aethym i'r *hotel* i ymofyn ymborth.

Pan oedd pob beth yn myned yn mlaen yn esmwyth, dyma newydd cyffrous yn cyrhaedd y lle, fod mwn-dwll newydd, anarferol o gyfoethog wedi ei ddarganfod ychydig o filltiroedd o Kimberley. Penderfynais fod yn un o'r rhai cyntaf i gyraedd y lle, a llogais gerbyd yn ddioed i fyned yno; ond erbyn i mi wneyd fy ymddangosiad yn y lle yr oedd yno ugeiniau, os nad canoedd o fy mlaen. Ac heblaw hyny, yr oedd llawer o'r *claims* wedi eu nodi allan, 30 o droedfeddi ysgwar; ond wrth gerdded oddiamgylch gwelais fod pump o honynt ar enw yr un dyn, sef Ellmyn o'r enw Vanderspey. Gan nad ydyw cyfraith Griqualand West, sef y Dalaeth hono, yn caniatau i'r un person unigol gael ond un

*claim*, rhoddais fy enw fy hun wrth un o'r hawliau, ac enw fy nghyfeillion wrth y lleill. Gan fod Mr. Vanderspey wedi tori y gyfraith nid oedd arnaf ofn gwneyd felly, oblegid nad allai ef ddal ond un hawl ar y gwaith. Dechreuais gloddio yn ddioed ar fy hawl, er sicrhau y lle i mi fy hun tu hwnt i bob amheuaeth. Cefais ar ddeall yn fuan fod gweithrediadau fel yr eiddof y tro hwn, wedi achosi cynwrf ac ymladdfeydd gwaedlyd lawer gwaith, yn y *Diamond Fields;* ac yr oedd rhesymau cryfion dros ofni mai hyny fyddai canlyniad fy ngwaith inau y tro hwn. Wrth weithio yr oeddwn yn ceisio cadw un llygad ar y gaib a'r rhaw, a'r llall i wylied dyfodiad Mr. Vanderspey, a chan fy mod yn meddwl cymaint o'r lle, teimlwn yn barod i ymladd drosto, cyn gollwng fy ngafael o fy hawl. Cyn 'pen dwy awr ar ol i mi ddechreu gweithio daeth agos i holl Detoispan, DeBears a Kimberley i'r lle, ac agos i holl boblogaeth yr amgylchoedd, mewn trefn i osod *claims* ar y lleoedd yn y dechreu, pan oeddynt i'w cael am ddim; ac erbyn hyn yr oedd y cyfeillion y rhoddais eu henwau ar y *claims* wedi dyfod i gymeryd meddiant o honynt. Yr oeddwn yn foddlawn iddynt wneyd ar yr amod i mi gael haner yr elw am eu sicrhau. Yn mhlith

eraill daeth Mr. Vanderspey i gael golwg ar ei eiddo yntau; ond er ei siomiant dirfawr yr oeddynt yn medddiant eraill. Teimlodd yn siomedig a ffyrnig o herwydd hyn, a siaradodd yn llithrig iawn yn yr Ellmynaeg; ond nid oeddwn yn ei ddeall. Wedi i'r nos ddechreu taenu ei mantell dywell drosom, prysurodd rhai i'w cartrefleoedd; ond arosodd y nifer luosocaf o honom ar y maes i gymeryd gofal ein golud bydol. Darfu i mi gytuno a'm cyfeillion i gymeryd gofal fy eiddo yn y lle, ac felly dychwelais i Kimberley y noson hono. Ni fuasai waeth i mi aros ar y maes i weithio drwy y nos; canys yr oedd yn anmhosibl gorphwys na chysgu yn Kimberley, o herwydd y berw a'r mwstwr mawr mewn cysylltiad a'r darganfyddiad newydd oedd yn addaw troi allan mor hynod o gyfoethog. Yr oeddwn inau wedi credu yn sicr fy mod wedi cael gafael ar ben rhaff ffortiwn, ac y cawn ddigon o olud i'm galluogi i dreulio gweddill fy oes mewn hufen a llawnder, yn y palas gwych y breuddwydiais yn ei gylch amser yn ol.

Boreu dranoeth prysurais i chwilio am nifer o'r Kaffirs i weithio i mi, y'nghyd ag arfau angenrheidiol. Cyflogais bedwar am bunt yr un yn yr wythnos; ac erbyn wyth o'r gloch y boreu yr oeddwn wrth y mwn-dwll

yn barod i weithio. Yr oedd mwy o'r haner ar y maes yn barod nag oedd yno y diwrnod blaenorol, a thai a phabelli yn neidio i fyny fel *mushrooms* yn mhob cyfeiriad, yn nghyda *grog-shops* a *whisky-shops* o bob math a dullwedd. Gwnaeth lluoedd o hapchwareuwyr eu hymddangosiad, ac yr oedd y *gamblio* ar garlam gwyllt yn mhob twll. Boreu dranoeth yr oedd holl weithwyr Vaal River, a'r Klip Drift Diggers wedi cyraedd y lle, ac yr oedd nifer mawr o filoedd o bobl ar y maes. Mae yn sicr genyf na fu *excitement* mwy yn un man erioed. Mewn pedwar diwrnod o amser yr oedd yno dref helaeth o bebyll, a phawb yn brysur ofnadwy yn gweithio eu mwngloddiau. Dygwyd peirianau lawer i weithiediad, er hyrwyddo y gwaith, a gallesid meddwl fod yno swm anhysbyddadwy o'r perlau gwerthfawr. Defnyddiodd llawer ddwfr i olchi y pridd a'r llaid, er ceisio dal y *diamond;* ac yr oedd eraill yn gogrynu ac yn hidlo y pridd sych a'r ceryg maluriedig. Yr oedd y dwfr yn costio hanèr coron y bwcedaid.

Wedi gweithio llawer daeth pethau i ymddangos yn hynod o anffafriol, gan nad oedd seiliau sicr fod neb yn dyfod o hyd i'r adaamant. Yr oedd rhai yn dangos rhyw

ronynau hynod o fychain, a haerai rhai eu bod yn gwneyd yn dda, a dangosant ddarnau gwerthfawr o ddiemwnt, yr hyn fu yn foddion i gadw eraill i weithio, gan ddysgwyl ffawd well yn y dyfodol.

Gwnaeth y cynwrf gyda'r lle newydd ddrwg anghyffredin i waith Kimberley, ac i'r mwngloddiau eraill, drwy i'r bobl gredu fod rhyw gyflawnder aruthrol o'r diemwnt yn y lle; ac oblegid hyny peidiodd y masnachwyr a phrynu dim, gan ddysgwyl iddo ddod yn rhatach o lawer yn fuan. Aeth pethau mor farwaidd a dwl fel y bu raid atal llawer o'r mwngloddiau; ond er y cwbl nid oedd neb yn gallu dangos llawer o berlau wedi eu cael yn y lle newydd, yr hyn fu yn foddion i'r llywodraeth ameu fod twyll erchyll wrth wraidd y cwbl. Aeth rhai mor bell a haeru na chaed dim diemwnt o gwbl yn y lle newydd ond y rhai a daflwyd yno; a bod rhyw ddynion drygionus wedi halltu y lle, drwy hau ychydig o ronynau o adamant yno i godi cynwrf.

Penderfynodd awdurdodau Griqualand West roddi prawf manwl a thrwyadl ar y mwngloddiau newyddion, gan fod amheuaeth yn meddyliau llawer heblaw y llywodraeth mai twyll oedd yr achos o'r holl gyffro. Yr hy-

nodrwydd mwyaf yn yr holl leoedd hyn oedd, na chafodd neb adamant yno, ond y rhai oeddynt yn dal cysylltiad agos a'r Iuddewon; ac yr oedd y rhai hyny yn gwneyd pob ymdrech i dynu y pris i lawr, er mwyn eu llogellau eu hunain. Aed i ymofyn am y peiriant golchi goreu oedd yn yr holl gymydogaethau, a chloddiwyd un o'r *claims* lle caed llawer o adamant, yn ol yr honiadau. Gosodwyd swyddogion i gadw pawb i ffwrdd oddiwrth yr offeryn golchi, ond y rhai oeddynt yn ei weithio, ac yn cario y rwbel iddo. Gwnaed hyn rhag i neb gael cyfle i luchio darnau o adamant i'r peiriant, neu i'r pridd, tra yr oeddynt yn gweithio. Cadwyd yr olchfa i fyned yn mlaen o'r boreu hyd y nos, a gweithiwyd yn galed hefyd. Ar ol cyflawni yr holl waith gyda diwydrwydd, ni chaed yn yr olchfa yn y diwedd ond talpiau bychain o ddiemwnt, oddeutu maintioli pen pin. Daeth y swyddogion i benderfyniad unfrydol mai nid o'r gwaith newydd y daeth y rhai hyny, ond eu bod wedi eu rhoddi yn y peiriant cyn iddo ddyfod o Kimberley.

Gwelsom ar unwaith mai *humbug* oedd y cwbl, sef twyll had Abraham, neu yr Iuddewon, sef y prif fasnachwyr yn yr adamant. Eu hamcan oedd creu panic yn y wlad, a chael

gan bobl gredu fod digonedd o'r meini gwerthfawr yn y lle; yna rhedeg y pris i lawr, tra y byddai pawb mewn pangfa o ddychryndod, fel y gallent hwy brynu yn rhad. Llwyddasant i wneyd hyny o'r blaen, ac anfonwyd y newydd i Ewrop i ostwng pris y farchnad yno. Yr oedd yr Iuddewon hyn yn gallu fforddio halltu y mwnglawdd â diemwnt yn lled dda, drwy redeg y pris i'r haner; yna cadw y diemwnt nes y deuai y farchnad i'w sefyllfa gysefin. Taflodd hyn lawer i ofid enfawr a thristwch blin ar ol gweithio yn galed, a gwario llawer o arian, a chael gwneyd ffyliaid o honynt yn y diwedd. Yr oeddwn inau yn eu plith. Meddyliais unwaith fy mod wedi cael gafael yn mhen rhaff ffortiwn, ac yr oeddwn wedi penderfynu tynu ynddi, hyd nes y cawn afael ar drysor gwerth ei feddianu. Credodd pawb yn awr mai twyll dichellddrwg oedd y cwbl, a thaflasom arfau i lawr mewn anobaith. Ar ol hyny pan yn myned heibio i swyddfa Mr. Atkins a'i gwmni, galwodd arnaf i mewn, a dangosodd i mi yr hyn na welwyd gan un dyn o fil, hyd yn nod yn meusydd yr adamant. Dangosodd i mi y diemwnt oeddynt wedi gadw o'r farchnad, pan aeth y prisiau mor isel mewn canlyniad i'r twyll a nodwyd. Yr oedd yn eu meddiant lestr chwart yn llawn o ada-

mant! Dyna swm cyfartal i 6,000 *carat*. Carat ydyw safon pwysau aur pur, neu feini gwerthfawr, ac mae yn cynwys pedwar o ronynau, neu 140 rhan o owns. Yr oedd y darnau adamant oll yn hynod o ddysglaer, ac yn betryal, heb yr un yn llai na 5 *carat*; ac yr oedd y mwyaf yn 36 *carat*. Arllwysodd hwy o'r llestr ar y bwrdd yn y modd mwyaf ffafriol i'w gweled; ac er eu bod yn eirwon, fel y cafwyd hwy yn y ddaear, ni fydd i mi anghofio eu dysgleirdeb llachar tra byddaf byw. Diau i mi weled mwy o emau y tro hwn nag a weledd amryw o benau coronog y ddaear erioed. Dywedodd Mr. Atkins wrthyf iddynt gael cynyg £10 y *carat* am danynt bum' mis yn ol, yr hyn a gynyrchasai £60,000, neu $300,000 yn aur. Ond o herwydd y panic diweddar, gwerthodd y diwrnod hwnw 1,000 *carat* am £6 yr un; a gwrthododd £8 y *carat* am y mwyaf. Yr oedd rhai o'r diemwnt o liw drwg, ac o herwydd hyny yn llai o werth; ond yr oedd yno un glas, yn pwyso 7 *carat*, am yr hwn y gwrthododd £140, sef £20 y *carat*. Gwertha rhai mathau o ddiemwnt yn llawer uwch na'r diweddaf, os bydd ynddynt ysmotiau cochion, yn rhesi rheolaidd.

Cyn darganfyddiad y *Diamond Field* yn 1866, marwaidd iawn oedd pob peth yn South

Affrica, er fod yno gyflawnder mawr o lo i'w weithio, pe buasai galwad am dano. Nid ydyw mwnau a meteloedd o nemawr werth os na fydd marchnad i brynu a gwerthu, ac i newid nwyddau. Hefyd mae y rhan helaethaf o'r adnoddau mwnol yn mhell yn y wlad, ac felly mae gormod o gostau i'w cludo i lan y môr. Yn fuan ar ol darganfyddiad yr adamant, dechreuodd pobloedd ddylifo i'r lle o bob man; ac adeiladwyd llawer o ychwanegiadau at Port Elizabeth, East London, Cape Town, Port Natal, a lleoedd eraill. Daeth mwy o bobl yno o Loegr, nag o unrhyw barth arall o'r byd; ac yr oedd y boblogaeth gymaint dair gwaith ag ydoedd ar ddechreu y cynwrf. Yr oedd amryw o reilffyrdd mewn llawn waith. Rhed un o Cape Town, tua'r amgylchoedd hyny, ac mae hono yn cario y llythyrgodau tua'r cyfeiriad hwnw am 200 o filltiroedd. Yr oedd y *mail* yn dod i mewn o Cape Town pan oeddwn yn Kimberley, mewn wyth diwrnod.

Sicrhawyd fi fod aur yn Affrica, yn y gogledd, y de, y gorllewin a'r dwyrain; ac mae aur-gloddiau cynyrchiol yn cael eu gweithio yn Abyssinia yn bresenol, sef yn hen Ethiopia y Beibl. Nid oes llawer o ffordd o'r aurgloddiau hyny i'r Mor Coch. Ni raid i'r rhai

a ddymunant gael sicrwydd am adnoddau a chyfoeth y cyfandir mawr hwnw ond darllen gweithiau yr archwilwyr medrus fuont yno, megys Park, Baker, Grant, Speake, Denham, Clapperton, Burton, DeChaillu, Livingstone, Stanley ac eraill.

Mae llawer o'r Scotiaid wedi dechreu sefydlu ar lan Llyn Nyassa, a gelwir y lle yn Livingstonia, er coffadwriaeth am yr anfarwol Livingstone ; ond afiach ydyw, o herwydd clefydau.

Fel y gweithia gwareiddiad ei ffordd yn mlaen, daw Affrica yn gartref dedwydd i boblogaeth luosog; ac fe ddichon fod rhai yn fyw yn awr a welant reilffyrdd yn ei chroesi yn mhob cyfeiriad. Mae yn sicr y gwneir rheilffordd yn nghyfeiriad Rhaiadr Victoria, un o brif ryfeddodau y byd, yr hwn sydd ar yr Afon Zambezi, ac yn 400 o droedfeddi o uchder. Mae yr afon o 950 i 1,900 o droedfeddi o led; felly gwelir fod y rhaiadr yn aruthrol. Tra rhagora mewn uchder, a chyflawnder o ddwfr ar Raiadr Niagara; ond nid ydyw y dwfr yn rheolaidd o herwydd ar rai adegau mae llawer mwy o ddwfr nag yn y Niagara, ond adegau eraill llawer llai. Rhagora Niagara arno yn nghysondeb cyflawnder helaeth o ddwfr drwy y flwyddyn.

## PENNOD V.

*Cyfarfod Mr. Roebuck— Gwneyd amodau i fyned i ganolbarth y wlad—Gadael Kimberley gyda llwyth o nwyddau—Newid nwyddau gyda'r Boers a'r brodorion— Yr anifeiliaid a'r bwystfilod—Marwolaeth un o'r gweision— Cyraedd Kirman River—Cael llythyr o Kimberley—Newid cynlluniau—Helyntion a thrallodion— Yr anifeiliaid yn cloffi—Teithio yn y nos—Tori y wagen—Gwaith blinderus—Crownstadt a'r pentref Harry Smith yn y Free State—Croesi mynyddoedd Drakensberg, a chyraedd trefedigaeth Natal—Gwerthu ein gwedd— Umgeni Falls—Dinas Pietermaritzburg — Cyraedd D'urban—Newyddion torcalonus, &c.*

Er i mi fod yn lled ffodus ar y cyfan yn meusydd y diemwnt yn ystod y naw mis y bum yno, eto yr oedd fy nwyd yn barhaus am deithio i leoedd eraill ar y cyfandir i chwilio am le gwell. Yn y cyfamser, daethym yn gydnabyddvs ag un Mr. Roebuck, yr hwn fu am flynyddau yn hela yr estrysiaid a'r elephantiaid; a'r amser hwnw yr oedd wedi dyfod i Kimberley gyda llwyth drudfawr o ifori a phluf yr estrysiaid gwylltion, a chan fod y farchnad yn barod iddynt, gwerthodd yr oll am brisiau da. Dyn genedigol o Germani

oedd Mr. Roebuck, ac wedi cael dysgeidiaeth. Treuliodd lawer o flynyddoedd yn aur-gloddiau Australia, a New Zealand; ond daeth ef fel llawer eraill, oddiyno i chwilio am olud yn Transvaal. Gwnaeth lawer o arian yn Australia a New Zealand, ac yr oedd yn ei feddiant lawer o ganoedd o bunau pan ymadawodd am Affrica. Gan fod Mr. Roebuck wedi gwario cymaint o amser yn yr aurgloddiau, a chan i hanes gyraedd Kimberley fod cyflawnder mawr o olud i'w gael i'r gogledd o'r afon fawr Zambezi, 1,500 o filltiroedd o Kimberley, penderfynodd ef a minau fyned yno, drwy deithio ar draws y wlad. Deallasom fod amryw o anturiaethwyr wedi ein rhagflaenu, gyda'r un amcan, ond eu bod hwy wedi myned i Port Natal, ac oddiyno gydag agerlong i Quillimane; yna yr oeddynt i weithio eu ffordd i fyny yr afon hono. Hono oedd y ffordd gyntaf, ond dewisasom ni y ffordd arall, gan fod arnom eisiau gweled y wlad.

Cyfaill o'r enw Sotherland oedd un o'r rhai cyntaf i ymadael oddiyno tua Port Natal, lle yr ymunwyd ag ef gan un o'r enw Johnson. Eu bwriad oedd myned i ganolbarth Affrica, lle y dywedid fod symiau helaeth o aur i'w cael. Yn fuan ar eu holau aeth dau arall o Pilgrim's Rest, Transvaal, un o'r rhai a ad-

nabyddid wrth yr enw Yankee Dan. Cymeriad hynod oedd Dan; cyfrifid ef yn un o'r anturiaethwyr mwyaf yn Neheubarth Affrica, ac adnabyddid ef yn holl sefydliadau y parth hwnw o'r cyfandir. Cododd hyn awydd mewn eraill am fyned i'r un cyfeiriad, a chyn hir clywyd am wyth yn rhagor wedi gadael am yr un lle. Meddai rhai o honynt gyfeillion yn Kimberley, at y rhai yr addawent ysgrifenu. Hwyliodd yr oll gyda'u gilydd mewn agerlong oedd yn gadael Cape Town unwaith bob mis, gan alw yn yr holl borthladdoedd ar yr ochr ddwyreiniol i'r cyfandir, rhwng yno a Zanzibar.

Cychwynasom ni o Kimberley ar yr 20fed o Ragfyr y flwyddyn hono, gyda deg o ychain yn tynu gwagen weddol lawn o nwyddau, megys *beads*, *cotton*, &c., tuag at fasnachu a'r brodorion. Yr oedd genym swm o ddilladau hefyd i'r un perwyl, a chan na fyddai y rhai hyn o nemawr ddefnydd i ni yn y parthau mwyaf mewnol o'r wlad, cymerasom ychydig amser er cael ymadael a hwy yn y Free State ac amgylchoedd y Vaal River. Dylaswn nodi fod genym dri o'r Kaffirs i yru yr ychain pan gychwynasom; ond diangodd un o honynt yn ol i Kimberley yn mhen ychydig ddyddiau. Erbyn y 3ydd o

Ionawr, cawsom ein hunain yn barod i adael y Vaal River, ac am y deuddeg diwrnod cyntaf teithiasom dros ugain milldir y dydd trwy wlad oedd yn llawn o anifeiliaid gwylltion o wahanol fathau. Er fod yr elephantiaid wedi cilio i ranau mewnol y wlad, eto y mae Affrica yn llawn o bob math o anifeiliaid, bwystfilod ac adar, a gwelsom lawer o honynt ar y daith dan sylw. Gan fod y tymor hwnw yn anarferol o sych, a'r dwfr yn brin drwy y wlad, yr oeddym yn cael golygfeydd ardderchog lle bynag y deuem yn agos i ddwfr, o herwydd yr oedd yr anifeiliaid a'r bwystfilod fel teulu cymysgedig ar lanau y llynau wrth y miloedd, yn ei ymofyn; eithr yr *elands*, y *spring bocks*, y *buffalos* a'r *zebras*, oedd y rhai lluosocaf. Un o'r golygfeydd fwyaf ardderchog a welais erioed oedd gweled yr anifeiliaid hyn yn ymchwalu, ac yn carlamu yn mhob cyfeiriad, wedi cael eu dychrynu ar lanau y llynoedd a'r afonydd, lle byddent yn disychedu eu hunain. Yr oedd yr olygfa arnynt oll yn fawreddog dros ben, yn enwedig ar y *zebra*. Hefyd yr oedd yr *hyenas* a'r *jackals* i'w gweled yn aml yn rhanau mewnol y wlad; a'r nos amgylchynent ni, gan wneyd yr oernadau mwyaf aflafar.

Mae y llewpartiaid a'r Hippopotamus a ni-

feroedd o fwystfilod o wahanol rywogaethau, i'w cael trwy yr oll o ddeheubarth Affrica, ac mae rhai o honynt i'w cael mor bell i'r de a Natal. Daliwyd amryw yn ddiweddar yn agos i Port Elizabeth, a chredir fod llawer eto yn llechu yn nghanol y mân goed a'r briwydd. Mae y brodorion yn ymhyfrydu mewn hela pob math o anifeiliaid a bwystfilod, ac mae ganddynt ddulliau rhyfedd iawn i ddal y gwahanol fathau, ond maent bob amser yn llwyddianus.

Eu dull cyffredin i ddal *elands*, *giraffes*, *spring bocks*, a phob helwriaeth mawr o'r fath yw, gwneyd math o *fence* uchel ar lun y llythyren V, o wrych neu rywbeth arall cyfleus, mewn lle manteisiol, ac weithiau rhwng y creigiau am filltir neu ddwy. Wedi cael yr helwriaeth oddifewn a chydrwng y ddwy *fence*, maent yn cael eu hanog yn mlaen i'r lle. Mae y ddwy *fence* yn uno, ac nid oes dim i'r anifeiliaid wneyd ond neidio yn bendramwnwgl i ryw fath o dwll neu gorlan a ddarparwyd iddynt, yna yr ymgasgla y brodorion i ranu yr ysbail. Mae ganddynt ddull rhyfedd ond pur sicr i ddal yr *hippopotamus* neu y *behemoth*. Sylwer ar yr arlun ar y tudalen arall.

Arddangosir y behemoth gyda'r llythyren

A, yr hwn sydd yn myned ar hyd ei lwybr arferol yn ystod y nos. Mae y behemoth yn arferol a rhodiana llawer iawn yn y tywyllwch, ac wrth hyny gall y darllenydd farnu beth yw ei gymeriad. Mae y llythyren B yn dangos pren hir, yn mhen yr hwn y mae tryfer flaenllym, a osodir allan drwy gyfrwng y llythyren D. Ceryg mawrion yw y ddau lwmp wrth C C, i'r dyben o fwyhau pwysau y dryfer. Mae y rhaff wrth y llythyren F yn myned dros gainc y goeden E, yr hon sydd 25 troedfedd o uchder, ac yn cael ei chyrdeddu o gylch olwyn wrth fon y goeden; ac wedi hyny yn myned heibio i'r llythyren E wrth draed y behemoth; yna mae yn cael ei sicrhau gryn bellder oddiwrtho yr ochr arall. Yn ystod y nos, pan ddaw y Behemoth allan o'r afon, bydd yn sicr o fyned ar hyd yr un llwybr ag o'r blaen; a phan ddaw hyd at y rhaff, bydd yn sicr o redeg ei goesau yn ei herbyn, canys pe y gallai ei gweled, go brin y byddai yn alluog i gamu drosti, o herwydd byrdra ei goesau, a'r canlyniad fydd iddo ei rhyddhau, nes achosi i'r dryfder gwympo mewn eiliad, ac ymblanu yn ei gefn, nes y bydd weithiau yn myned drwyddo. Ar hyn rhydd y creadur frefiad a rhuad, nes syfrdanu pob peth byw yn y cymydogaethau. Gwna y creadur der-

fysg aruthrol, os dygwydd i'r dryfer fyned yn ddofn i'w gorff, a rhed oddiamgylch y goeden, ar hyd y rhaff, gan grafu, udo a chroch-ochain yn echrydus; ac os dygwydd iddo fod yn hen anifail cryf, tyn y rhaff, a charia ymaith y dryfer a'r ceryg gydag ef i'r afon, yr hon a gochir ganddo gan ei waed am bellder mawr. Y canlyniad fydd iddo yn y cyfamser farw, wedi myned dan yr arteithion mwyaf. Bryd arall ceir yr anghenfil yn parhau i ymladd wrth y goeden, wedi dyrysu yn y rhaffau, ac yn methu myned ymaith, o herwydd pwysau y ceryg a sicrheid wrth y dryfer, y rhai a fyddant un bob ochr iddo, a'r bicell yn blanedig yn eigion ei gorff. Tra yn curo ac yn tori y ddaear, gellir clywed ei swn o bellder mawr, ac yn aml fe gloddia yn ddwfn i'r ddaear a'i draed tra yn ymladd am ei hoedl. Byddai yn beryglus myned yn agos i'r lle, tra y chwythai waed a glafoerion o'i amgylch ogylch. Drylliai y ddaear, a lluchiai bridd, coed a cheryg i bob cyfeiriad. Yr oedd y gwaith hwn yn cydweddu i'r dim a chwaeth yr Affricaniaid hyn, ac ymddangosent mewn cyflawn fwyniant o wynfydedigrwydd a llawenydd tra yn amddifadu y behemoth o'i hoedl yn y dull creulon a nodwyd. Yr oedd y dwfr yn brin yn y fan hon, gan ein bod yn nesâu at gwr di-

ffaethwch Kalahari; ac o herwydd fod yr ychain yn cloffi, cymerasom orphwysdra am ychydig amser. O fewn ugain milldir i ni yr oedd cangen o'r Kurman River, ac aethom yn mlaen tuag ati gyda llawer o drafferth, o herwydd i un o'r ddau Kaffir gael ei wenwyno gan neidr nes oedd ei goes wedi chwyddo, ac yntau mewn poenau arteithiol. Rhoddasom ef yn y wagen, a chafodd bob cymorth allasem estyn iddo; ond cyn cyraedd yr afon bu farw, a chladdwyd ef yn y tywod.

Parodd hyn anhwylusdod mawr i ni, gan fod yn ofynol cael pedwar o leiaf i wneyd y gwaith oedd genym gyda'r ychain. Dylwn ddweyd ychydig eiriau am y dull oedd genym i drafod yr ychain. Yn y lle cyntaf, yr oedd yn ofynol cael un i'w tywys, gan y dysgir ychain yn Affrica yn y fath fodd fel na theithiant ddim heb fod arweinydd o'u blaenau i ddangos y ffordd iddynt. Rhaid hefyd oedd cael un neu ddau i'w chwipio yn mlaen, ac un arall i'w cadw mewn cyraedd pan ollyngid hwy yn rhydd, gan y byddai hyny yn ormod gorchwyl i'r rhai blaenaf wedi iddynt gerdded drwy y dydd. Modd bynag, cyraeddasom yr afon lle yr oedd *trading station*, neu orsaf i fasnachu. Tra yr oeddym yno, daeth Kaffir i mewn gyda'r *mail* o

Vaal River, ac er calondid i ni, yr oedd llythyrau i ninau. Yr oedd un o honynt oddiwrth gyfaill yn Kimberley, a chynwysai gopi o lythyr a dderbyniasai o Quillimane oddiwrth un o'r wyth y crybwylliais am danynt eisoes, sef *Canadian Frenchman* o'r enw Requs Jacques. Rhoddai ar ddeall iddynt gyraedd Quillimane yn iach erbyn Mai 9fed, 1876, a chawsant bob peth yn well na'u dysgwyliad. Prynasant botelau o aur gan rai o'r brodorion oeddynt newydd ddod i lawr yr afon, am tua dwy bunt yr owns; ac yr oedd penaeth y wlad yn y lle ar y pryd, ac yn awyddus iawn am iddynt fyned yn mlaen a chloddio iddynt eu hunain. Yr oedd hefyd yn addaw anfon nifer o ddynion gyda hwynt i fyny yr afon er dangos lle yr oedd yr aur, yr hwn oedd o'r fath oreu, ond yn fân. Dywedai y penaeth wrthynt fod yr oll o'r aur wedi ei gael ar lan afon fechan i'r gogledd o Tate, ac hefyd fod y wlad yn iach, ac y byddent yn sicr o gael addaliad da am fyned yno.

Yr oedd y llythyr mor addawol, fel y penderfynasom roddi heibio ein bwriad o deithio ar draws y wlad, a phrysuro i Port Natal; a dywedai y cyfaill o Kimberley ei fod yntau am werthu ei fasnach a myned yno mor fuan ag y gallai, yn unol a chyngor Jacques. Gan

hyny, yn lle myned yn mlaen, troisom i gwr gwlad y Beckuanas, yr hon sydd i'r gorllewin i Transvaal. Dylwn grybwyll fod yr olaf o'r tri Kaffir wedi gwrthod dyfod yn mhellach na'r afon, o herwydd marwolaeth ei frawd, felly nid oedd ond ni ein dau. Wedi cryn drafferth am ysbaid gyda'r ychain, gorfu i ni ollwng y pedwar blaenaf yn rhydd, a rhwymo chwip bymtheg troedfedd o hyd wrth ddwy gorsen *bamboo*, tua deg troedfedd o hyd, gyda'r rhai y llwyddasom i gadw yr ychain yn weddol mewn trefn—ein dau yn y wagen, fi yn gwylio un ochr, a Roebuck yr ochr arall. Aeth pethau yn mlaen yn llwyddianus hyd un noson, pan ddychrynwyd yr ychain gan aderyn mawr yn codi yn sydyn, a rhedasant o'r ffordd. Wedi rhedeg a chodymu cryn lawer yn y tywyllwch, llwyddais i'w goddiweddyd, ond o herwydd fod pob peth wedi cael ei yru allan o le, a Roebuck wedi anafu tipyn arno ei hun wrth godymu, a rhai o'r ychain wedi myned ar goll, bu i ni wersyllu yno hyd oleu dydd dranoeth. Heblaw hyny yr oedd yr ychain wedi aros mewn lle mor anghysbell, ac wedi troi a throsi cymaint, fel na wyddem yn mha gyfeiriad yr oedd y ffordd. Ond i brysuro yn mlaen, cyraeddasom y Beckuana Settle-

ments, lle y gwerthasom yr holl nwyddau oedd genym yn lle plu estrys.

Erbyn hyn, yr oedd yn ddechreu Chwefror, ac yn ofynol i ni fod yn Port Natal, 600 milldir o bellder erbyn y 7fed o Fawrth, neu orfod aros mis yn mhellach am yr agerlong. Newidiasom y rhai cloffaf o'r ychain gyda'r Kaffirs am rai gwell, gan roddi *beads* yn y fargen. Teithiasom yn mlaen mor gyflym ag y gallem, gan gyfarfod ag amryw anffodion, a theimlem yn dra blinedig yn barhaus. Wedi cyraedd Crownstadt, yn y parth gogleddol o'r Free State, yr hwn sydd un o'r pentrefydd mwyaf addawol a welais yn Affrica, newidiasom yr ychain eilwaith. Dywedai y brodorion wrthym y dylem deithio mwy yn y nos, gan fod poethder y tywod yn ystod y dydd yn llosgi traed yr anifeiliaid. Yr oeddym yn awr mewn gwlad fwy gwareiddiedig, a'r ffyrdd yn llawer amlycach, fel y galluogid ni i deithio y nos, yn ol y cyfarwyddyd. Yn fuan ar ol gadael Crownstadt, daethom at afon, a chan y rhoddasid ar ddeall i ni nad oedd ond at ein gliniau o ran dyfnder, darfu i ni anturio ei chroesi yn y nos. Nid oedd yn ddigon goleu i ni allu gweled y ffordd yr ochr draw, ac yn lle dal ychydig i lawr yr afon, aethom yn union ar draws nes cael ein hunain

at ein gyddfau mewn dwfr. Nid hawdd darlunio yr helbul yr oeddym ynddo. Wedi rhai oriau o lafur caled, llwyddasom i gael yr ychain a'r wagen doredig i'r lan, ac arosasom yno hyd ganol dydd dranoeth, er rhoddi y wagen ryw fodd wrth ei gilydd.

Wedi cael y wagen wrth ei gilydd, cychwynasom eilwaith ar ein taith, a chyn hir cyraeddasom le a elwir Harry Smith, un o bentrefydd y Free State, oddeutu dau can milltir o Port Natal. Yr oeddym yn awr wedi dyfod i'r brif ffordd i Transvaal a'r *Diamond Fields*, a gwelid gwageni yn myned yn ol a blaen yn barhaus; llawer o honynt yn myned tua Port Natal gyda gwlan a nwyddau eraill; a llawer hefyd yn myned gyda eu gweddoedd a'u teuluoedd i chwilio am gartrefi newyddion, i barthau mewnol y wlad. Gan fod y Dutch Boers, a'r cyfan yn grefyddol iawn, yr oeddym yn cyfarfod a llonaid gwageni mawrion, yn cael eu tynu gan ychain, yn myned i'r pentrefydd i'r capelau; ac yn fynych iawn yr oedd yn cymeryd wythnos neu fwy iddynt i gyraedd y lle. Gan fod cyfleusderau i deithio yn gyflymach gyda'r gwageni hyn, gwnaethom gais i werthu ein heiddo ni, ond methasom gael cynyg boddhaol, a chychwynasom yn mlaen. Ar ol teithio tuag wyth milltir, daeth-

om at doll-borth a godasid gan lywodraeth y Free State ychydig ddyddiau yn flaenorol. Gan na chlywsom air o son am y toll-borth, ac na chyfarfuasem ag un yn flaenorol yn y wlad, gwnaethom gryn wrthwynebiad i dalu, gan gredu mai *swindle* ydoedd; eithr gorfu i ni roddi i fyny, a thalu deg swllt ar hugain er cael myned yn mlaen. Y rheswm a roddwyd i ni dros ei godi ydoedd fod Natal yn cael toll ar bob nwyddau a ddygid o wledydd tramor, a bod llywodraeth y Free State wedi penderfynu ar y cynllun hwn er sicrhau ei rhan hithau. Daethom yn fuan i olwg mynydd Drakensberg, yr hwn sydd yn llinell derfyn rhwng y Free State a Natal, a chyraeddasom ef yn mhen dau ddiwrnod. Yr oedd newid y gwastadeddau tywodlyd a chrasboeth am y parthau mynyddig hyn yn dra dymunol. Ceid yma luaws o ffrydiau gloewon o ddwfr yn tarddu allan; rhai o honynt yn rhedeg yn mlaen i For y Werydd yn y gorllewin, tra eraill yn cymeryd cyfeiriad dwyreiniol i'r Mor Indiaidd.

O ben y mynydd hwn gallem weled pellder mawr rhyngom a'r mor, dros wlad fryniog, a thra gwahanol i'r un y daethom drwyddi hyd yn hyn. Gwelsom yma nifer o fân goed am y tro cyntaf yn ystod ein taith, oddieithr rhyw ychydig yn amgylchoedd y Vaal River, a math

o fieri bychain a dyfent yn ngwlad y Beckuanas a deheubarth Transvaal. Tra yn myned i lawr y goriwaered hirfaith—tua phum' milltir o hyd—ar ochr Natal i'r mynydd, cyfarfuasom ag amryw wageni o wahanol barthau, gyda *double spans* wrth yr oll o honynt. Yn nhrefedigaeth Natal ceir gwestdai, bob rhyw ddeg neu bymtheg milltir, gyda phob cyfleusderau angenrheidiol i deithwyr; a chlywir Seisneg mor aml ag un iaith. Ellmyniaid oeddynt brif sefydlwyr y drefedigaeth ar un adeg, ond ymadawodd y rhan fwyaf o honynt pan gymerwyd meddiant o'r lle gan y Saeson. Teithiasom yn weddol hwylus nes y bu i'r ychain ddechreu cloffi drachefn, pan oeddym o fewn cant a phedair ar ddeg o filltiroedd i Port Natal. Yn y fan hon, modd bynag, buom mor ffodus a chyfarfod teulu ar eu ffordd i Transvaal, oeddynt mewn angen am ychain, o herwydd fod amryw o'u rhai hwy wedi meirw o ryw glefyd. Cyn pen chwarter awr llwyddasom i werthu y wagen a'r ychain, ac yr oeddym ninau ar y maes agored gyda'r ychydig nwyddau oedd genym, sef tua phymtheg pwys o blu estrys. Arosasom am tua naw awr am wageni llwythog o wlan, oeddym wedi eu pasio y diwrnod blaenorol. Cawsom roddi ein paciau ynddynt, ac yn y

nos cysgem dan y gwageni fel y Kaffirs. Gan fod y gwageni yn llwythog, ni theithiem ond tua phymtheg milldir y dydd, yr hyn oedd yn llawer arafach nag yr arferem ni fyned. Ar y pedwerydd dydd o'n taith gyda y cwmni hwn daeth yn wlaw trwm, a chan nad oedd genym un cysgod arall, gorfu i ni lechu dan y gwageni am ddeugain awr. Erbyn hyn yr oeddym wedi llwyr flino ar ein sefyllfa, a theimlem yn dra anesmwyth, gan fod yr amser i ni fod yn Natal yn agoshâu.

Yn y cyfamser daeth y *Diamond Field mail* heibio, a chan ei bod yn wag, neidiasom i mewn. Cyn hir cyraeddasom bentref bychan Howick, tua phymtheng milltir o Pietermaritzburg, a thra yno, cawsom ychydig hamdden i gael golwg ar raiadr Umgeni sydd o fewn ychydig latheni i'r pentref. Drwy fod yr afon yn lled uchel ar y pryd, yr oedd golwg ardderchog ar y rhaiadr. Dychymyger am afon yn rhedeg drwy wlad bron yn hollol wastad, ac yn ddisymwth yn disgyn i'r dyfnder o 320 o droedfeddi. Mae y pentref hwn yn un o'r lleoedd mwyaf dymunol yn neheubarth Affrica. Desgrifir ef gan berchenog y Castle Hotel yno, yn ei hysbysiadau, fel y lle mwyaf dymunol i bersonau newydd briodi dreulio eu mis mel. Yn mhen ysbaid daeth

galwad arnom i ail-gychwyn ar ein taith, a thua dwy awr yn ddiweddarach cyraeddasom Pietermaritzburg. Cyn cyraedd y dref, yr oedd genym fynydd lled uchel i'w groesi, o ben yr hwn yr oedd golwg ardderchog ar y dref a'r amgylchoedd. Pietermaritzburg yw prif ddinas Trefedigaeth Natal, a saif tua haner can' milldir i fewn yn y wlad o D'urban neu Port Natal. Cynwysa o bymtheg i ugain mil o drigolion, ac addurnir hi a choed prydferth. Gwneir mwy o fasnach yma yn bresenol nag yn Port Natal, a diau y daw yn dref fywiog pan orphenir y rheilffordd sydd yn cael ei hadeiladu rhwng y ddau le. Rhedai dau gerbyd yn gyson rhyngddynt yr amser hwnw. Wedi aros yno am oddeutu haner diwrnod, cychwynasom tua D'urban, trwy wlad ffrwythlawn, a ffermydd dymunol ar bob llaw. Yr wyf yn deall, modd bynag, fod yr holl dir rhwng y ddwy dref grybwylledig yn eiddo i ychydig bersonau, ac nad oes gan y rhai a'i llafuriant ond prydles fer arno. Felly tebyga yr amgylchoedd hyn i Gymru yn y pwnc hwn. Erbyn saith o'r gloch yn yr hwyr, ar yr ail o Fawrth, cyraeddasom D'urban, wedi gwneyd y daith hirfaith mewn llai o amser na'n dysgwyliad.

Ar ol cyraedd D'urban, rhoddasom i fyny

yn Drew's Hotel, lle y cawsom welyau esmwyth am y tro cyntaf er ys llawer o fisoedd; ond er mor wych oeddynt, cymerodd i ni gryn amser i gynefino a hwynt; fel ag i allu cysgu haner cystal a phan oeddym dan y wagen. Nid oeddwn wedi cael golwg arnaf fy hun mewn gwydrddrych er ys amser maith, a chefais fy mod o ran lliw yn lled debyg i Hottentot, ac wedi tewychu yn fawr, yr hyn a brawf fod gyru ychain yn orchwyl iach, os yn flinderus. Boreu dranoeth, clywem ergyd magnel, a chawsom ar ddeall fod agerlong o rywle wedi cyraedd y porthladd. Mae y pwynt lle y glania llongau, tua dwy filldir o'r dref, a rhed cerbydres bob awr neu ddwy rhwng y ddau le. Cychwynasom yn ddioed tuag yno, a chawsom mai agerlong o'r enw *Kaffir*, a ddaethai i mewn o Zanzibar, Quillemane, a phorthladdoedd eraill ar ochr ddwyreiniol y Cyfandir, ac ynddi rai teithwyr i Natal. Yn fuan glaniodd pump o bersonau, sef y trafnoddydd Prydeinig o Mozambique, a phedwar o ddynion yn dwyn yr enwau Burke, Robb, Miller a Scott.

Er ein syndod a'n galar, y pedwar hyn oeddynt y gweddill o'r cwmni o wyth a adawsant Transvaal rai misoedd yn flaenorol, ac yn llwybr y rhai yr oeddym ninau yn dylyn.

Bu y pedwar eraill feirw o glefyd yn amgylch oedd yr afon Zambezi, ac yr oedd yr olwg druenus ar y pedwar hyn yn brawf eglur mai cyfyng iawn fu eu diangfa hwythau. Yr oedd eu cnawd wedi treulio ymaith fel nad oedd ond megys croen am yr esgyrn; yr oeddynt oll wedi colli eu clyw, ac yr oedd traed un o honynt wedi diffrwytho. Arosasant am wythnos yn yr un gwestdy a mi, ac felly cefais hanes manwl am eu taith. Dangosais y llythyr a gefais oddiwrth Jacques o Quillimane, a dywedasant fod yr oll a gynwysai yn wirionedd mor bell ag y gwyddent ar y pryd. Ymddengys iddynt brynu swm o aur rhagorol gan y brodorion, fel y dywedid yn y llythyr, am haner ei werth, yna cychwynasant i fyny yr afon mewn *canoes*, a rwyfid gan y brodorion, a chyrhaeddasant Tate mewn tair wythnos. Ar y daith i fyny, cawsant oll y *swamp fever*, fel erbyn cyraedd Tate yr oeddynt yn hynod o wan. Jacques oedd y cryfaf, a chadwai ei ysbrydoedd i fyny gan wneyd a allai i gysuro y gweddill. Aeth y tri gwanaf i'r ysbytdy yn Tate, tra yr ymlwybrodd y lleill ddeugain milldir yn mhellach er cael golwg ar y fan lle y ceid yr aur. Gwelsant yno amryw ferched yn golchi aur yn dra deheuig, eithr yn cael ond ychydig. Rhoddasant brawf ar y gorchwyl eu hunain,

eithr yn fuan gadawsant y lle gyda'r gobaith y caent well aur yn uwch i fyny. Teithiasant yn mlaen ar hyd afon fechan, nes oeddynt oddeutu dau can' milldir i'r gogledd o Tate. Dyoddefent yn dost oddiwrth y clefyd ar hyd y daith, ac wedi cyraedd y lle hwnw bu Jacques farw, a chladdwyd ef yn barchus gan ei gymdeithion galarus.

Amcanasant fyned yn mlaen eto gan y credent fod yr aur yn brashau; eithr wedi myned ychydig ffordd, gwrthododd y brodorion fyned yn mhellach o herwydd ofn y trigolion, y rhai oeddynt yn elynol i'w llwyth hwy. Felly, bu iddynt droi yn ol, a galwasant heibio i fedd Jacques ar yr hwn y rhoddasant gareg. Wrth ddyfod ar hyd cangen arall o'r afon, cawsant olwg ar well aur nag yn un o'r manau blaenorol, eithr nid mewn symiau digonol i dalu am ei weithio. Ychydig cyn cyraedd Tate, syrthiodd un arall o'r cwmni yn aberth i'r clefyd. Wedi cyraedd yn ol i Tate, cawsant bob cymorth a allasai y trigolion Portugeaidd estyn iddynt. Buasent yn garedig iawn hefyd wrth y tri a adewsid yn yr ysbytdy, y rhai modd bynag, oeddynt erbyn hyny wedi myned yn mlaen mewn cyfeiriad gwahanol ac heb ddychwelyd. Yn mhen tair wythnos daeth y tri yn ol, wedi tori i lawr bron yn hollol o ran eu

hiechyd, ac heb newyddion gwell parth yr aur. Ar ol aros ychydig yn hwy er adnewyddu eu nerth, cychwynodd y chwech a adewsid i lawr yr afon. Pan yn agos i Senna, bu un arall farw, a chladdwyd ef o fewn ychydig filldiroedd i fedd gwraig Dr. Livingstone. Senna yw prif dref rhandir o'r un enw a berthyna i'r Portugeaid, yn gorwedd rhwng 30° a 37° hydred dwyreinol, a rhwng 16° a 20° lledred deheuol. Saif y dref ar lan ddeheuol yr afon Zambezi, tua 110 milldir o Quillimane. Ar y daith o Senna i Quillimane, collodd un arall ei synwyrau, a chyn cyraedd y lle diweddaf bu yntau farw, gan adael ond pedwar o'r cwmni, y rhai, fel y mae yn hawdd dychymygu oeddynt yn falch o ddianc gyda'u bywydau ar fwrdd yr agerlong a'u cludai i Natal, er yn amddifad o aur. Siaradent yn uchel am y Portugeaid, y rhai mae'n ymddangos, a wrthodasant gymeryd tâl ganddynt am eu lle yn yr ysbytdy, am wasanaeth y meddyg, nac am un caredigrwydd arall.

Parodd cyfarfod a'r personau hyny a'r adroddiad gawsom ganddynt, i ni roddi i fyny ein bwriad o chwilio am aur yn amgylchoedd y Zambezi. Eithr yr oedd fy nghyfaill ar y pryd yn benderfynol o fyned gyda'r agerlong i Zanzibar, yn fwyaf neillduol i'r dyben o fas-

nachu a'r brodorion yn yr amgylchoedd hyny. Rhaid dweyd am Roebuck, ei fod yn llawn o anturiaeth, ac ar ganolbarth Affrica yr oedd ei awyddfryd yn barhaus; a chredai fod ei gyfansoddiad y fath fel na effeithiai clefydon arno ef fel ar eraill. Yr oedd hefyd braidd yn dueddol i gredu mai drwg drefn oedd y prif achos i'r bobl hyny fod mor anffodus i gyd, yn amgylchoedd Zambezi River. Ond beth bynag, nid oeddwn i wedi cael dim lle i gredu hyny, o herwydd yr oeddynt yn ddynion profiadol, sobr, call ac anturiaethus. Beth bynag, penderfynais yr awn i roddi prawf ar fy ffawd dda neu ddrwg yn ynys Madagascar; ac felly gadewais ef yn Natal, gan ofni na chyfarfyddwn ef mwyach, ond, ceir ei hanes eto yn mhellach yn mlaen.

Yr hyn a gododd yr awydd hwn ynof am weled Madagascar ydoedd, adroddiad am y manteision i fasnachwyr ar arfordir dwyreiniol yr ynys, a ddarllenais mewn llyfr gefais fenthyg gan cadben Mitchell, ar y daith o Awstralia. Ond yr anhawsder yn awr ydoedd sicrhau cludiad yno, gan nad oedd un math o gymundeb masnachol rhwng Madagascar a Deheubarth Affrica; yr unig hysbysrwydd allwn gael ydoedd, mai y Mauritius neu Isle of France, ydoedd yr unig le a ddygai fasnach

yn mlaen gyda hi. Dylid crybwyll mai ynys yw Madagascar a orwedda tua 250 o filldiroedd i'r dwyrain o gyfandir Affrica. Cynwysa tua 225,000 o filltiroedd petryal, neu agos gymaint arall o arwynebedd a Phrydain Fawr. Y prif borthladd yw Tamatave ar ochr ddwyreiniol yr ynys, pellder ó tua 1,500 o filltiroedd o Port Natal. Ynys fechan yw y Mauritius oddeutu 500 o filltiroedd yn mhellach i'r dwyrain na Madagascar, a pherthyna i Loegr.

Cyn 1856, cyfrifid Natal fel un o Drefedigaethau Cape of Good Hope, ond y pryd hwnw ymgiliodd oddiwrthi i fod yn Drefedigaeth ar wahan o dan goron Lloegr; ac i'w llywyddu gan yr Is-Lywodraethwr, yr hwn sydd yn cael y cyflog o £2,500 y flwyddyn. O'r holl Drefedigaethau sydd dan lywodraeth Prydain Fawr, gellir dweyd mai Natal yw yr unig un sydd wedi gallu byw heb bwyso ar y Fam Wlad. Yn ei dyddiau boreuol, benthycodd £10,000 oddiar y Goron, y rhai a dalwyd yn ol yn gyflawn a phrydlon; ond er hyny, rhaid dweyd mai Prydain Fawr sydd yn talu ei threuliai milwrol, oddigerth y swm o £4,000 a gyfranwyd fel rhodd gan y Drefedigaeth ei hun. Cynwysa y Drefedigaeth 1,800 o filltiroedd ysgwar, ond gellir dweyd fod rhanau

helaeth o honi yn dra anhysbys hyd yn hyn. Yn ol y cyfrifiad manylaf ellid gael yn 1874, yr oedd y boblogaeth yn 307,241; eithr nid oedd ond un ran o saith o'r boblogaeth uchod o darddiad Ewropeaidd. Yn y ddwy brif dref, sef Pietermaritzburg a D'urban, y mae yr Ewropeaid a'r brodorion oddeutu cyfartal mewn rhifedi. Prif gynyrch Natal yw gwlan, ac yn nesaf at wlan y mae siwgr, ifori a chrwyn. Yn 1870 anfonodd Natal werth £29,-432 o gotwm i Brydain Fawr. Mae coffi hefyd yn cael ei godi ar raddau helaeth yn Natal.

Mae D'urban yn dref brydferth iawn, ac mae yn ddigon agos i'r trofanau i dyfu y coed a'r llysiau a geir mewn lleoedd poethach. Cyfrifir mynedfa i'r porthladd, Port Natal, neu D'urban, yn un o'r rhai prydferthaf yn y byd, ac i'w gydmaru yn hyny i'r fynedfa i Sydney, Australia, a Rio Janeiro, Brazil. Mae y mwncis a'r *baboons* i'w gweled yn chwareu yn eu helfen ar y clogwyni uwchlaw, wrth fyned i mewn neu allan gyda'r llongau. Gellir dweyd hefyd fod Port Natal yn gwneyd mwy o fasnach a'r parthau mewnol, mewn plu estrys, ifori, crwyn &c., nag un o'r trefydd ereill yn yr amgylchoedd.

## PENNOD VI.

*Gadael Natal yn y llong Gymreig Island Belle —Gwynt croes—Ystormydd enbyd—Cael golwg ar Mauritius—Glanio yn Port Lewis—Golygfeydd rhyfedd—Y dref a'i phoblogaeth—Mynydd Peter Buete—Cofgolofn Paul a Virginia—Maintioli a chynyrch yr Ynys yn nghyd a'i hanes boreuol—Helyntion rhyfedd—Ynysoedd Bourbon a Kerguelen—Mordaith i Tamatave, Madagascar—Newyddion drwg, &c., &c.*

O'r diwedd cefais allan fod tair o longau yn y porthladd, a fwriadent alw yn Mauritius; un yn llong Efrengig, yr ail o Falmouth, Lloger, a'r olaf yn llong Gymreig o'r enw Island Belle, o Newport, D. C. Wrth gwrs dewisais yr olaf. Cymro o'r enw David Thomas ydoedd y Cadben, ac nid aeth llawer o fynydau heibio wedi ein cyfarfyddiad, cyn ein bod yn brysur siarad Cymraeg. Gwnaeth ef yr oll a allai er fy nghysuro ar y daith. Y noson flaenorol i'n hymadawiad, talodd y Cadbeniaid Jenkins a Morgans—Cymry glan gloew —ymweliad a ni, a threuliasom noswaith ddifyrus iawn. Daethai yr oll o honynt yno gyda llwythi o haiarn at y rheilffordd oedd yn cael ei hadeiladu o D'urban i Pietermaritzburg.

Boreu yr unfed ar ddeg o Fawrth cychwynasom, ac er fod y gwynt yn groes, nid hir y buom cyn colli golwg ar dir Affrica, am beth amser o leiaf.

Cawsom wynt croes, sef y *N. E. trade wind* am ddeuddeg diwrnod, ar ol morio o Natal, fel nas gallem symud nemawr yn mlaen. Ar y pymthegfed dydd cawsom ein hunain yn 27° 39′ lledred ddeheuol, ac heb fod ond ychydig bellder i'r dwyrain o Port Natal. Wedi hyn cododd gwynt ffafriol, a hwyliasom yn gyflym tua'r dwyrain nes dyfod i'r un hydred a Mauritius, pan yn ffodus y trodd y gwynt fel y buom yn alluog i hwylio amryw ganoedd o filldiroedd yn ogleddol. Weithiau gadawai y gwynt ni yn hollol. Ar adegau fel hyn difyrwn fy hun oreu gallwn drwy geisio pysgota, neu mewn astudio morwriaeth yn llyfrau y capten; ac ar adegau eraill, yn enwedig ar y Sabbothau, mwynhawn fy hun drwy ganu hen benillion Cymreig gyda'r capten. Fel hyn pasiai yr amser yn lled ddyddan. Buasai *mate* yr Island Belle yn gapten ei hunan ar long a hwylai gydag arfordir Affrica, a chymerai y cyfleusdra hwn i ymadael a'r lle ar ymweliad a gwlad ei enedigaeth, sef ynys fechan, Jersey, rhwng Ffrainc a Lloegr. Dyn ardderchog ydoedd, a deallai yn dda am

hinsawdd y parth hwnw o'r byd. Daliai y tywydd yn llawer gwell na'n dysgwyliad, gan nad oes un lle yn y byd mwy agored i gorwyntoedd nag amgylchoedd Mauritius. Ond un noson, tua deuddeg o'r gloch, clywais y *mate* yn galw y capten a'r holl ddwylaw i fyny ar y dec, yr hyn a arwyddai fod rhyw berygl gerllaw. Cyn pen ychydig fynydau taflwyd fi i'r llawr drwy i'r llong gael ei chwythau ar ei hochr gan y gwynt. Aethym inau i'r dec i weled beth oedd yn myned yn mlaen, ac er gwneyd cymaint a allwn o ddaioni. Nid aeth nemawr fynydau heibio nes bod y rhan fwyaf o'r hwyliau wedi eu rhwygo yn rhubanau, gan beri golwg wallgof megys ar yr Island Belle. Aeth y storm heibio, modd bynag, heb wneyd mwy o niwed na hyn, er y parhaodd yn hir i chwythu yn drwm.

Ar yr ugeinfed dydd allan o Natal, daeth cwr deheuol ynys Mauritius yn weledig, ac yr oedd golwg ffrwythlon a dymunol iawn ar bob peth. Yn mhen dau ddiwrnod yr oeddym ar gyfer Port Louis. Gan fod y gwynt yn groes cawsom gryn drafferth i fyned i mewn, ond llwyddasom o'r diwedd, a gollyngwyd yr angor o fewn tua thair milldir i'r lan. Yn ein hymyl yr oedd y llong o Falmouth, y crybwyllasom am dani yn flaenorol. Er na adawodd

Natal am ddau ddiwrnod ar ein holau, cyraeddasai y porthladd ddau ddiwrnod yn flaenorol i ni. Cawsai lawer gwell tywydd na ni yn rhywle. Yr oedd golwg ddymunol iawn ar Port Louis o'r lle hwnw, fel y llochesai yn nghysgod y mynyddau uchelfrig a'u hamgylchynent. Bron ar unwaith a ni daeth llong ryfel Seisnig i mewn, ar ei ffordd o India i Cape Town, Affrica. Wedi iddi amlygu ei dymuniad drwy arwyddion, gwrthodwyd i neb gael glanio o honi oddigerth yn y *quarantine*, pa un bynag a oedd afiechyd ar ei bwrdd ai nid oedd. Yn unol a chyfraith a basiwyd yn ddiweddar yn Mauritius yr oedd yn rhaid i bob llong a ddeuai yno o India fyned i'r *quarantine* am ryw ysbaid. Gwneir hyny er diogelwch rhag clefydau, lluaws o'r rhai a ddygwyd drosodd mewn amser a basiodd, gyda llongau o ddeuent o'r cyfeiriad hwnw. Pan ddeallodd swyddogion y llong ryfel na chaniateid iddynt lanio, gollyngasant ergyd nes crynu yr holl amgylchoedd; yna codasant y llythyrenau "*Farewell*" i fyny, ac ymadawsant yn ddioed.

Aethym i'r lan yn fuan mewn cwch a ddaeth ai at y llong, i ymofyn am waith dadlwytho. Yn mhen ychydig wedi i ni gychwyn tua'r lan, cododd yn wynt cryf nes peri dychryn nid

bychan i mi a'r brodorion a rwyfent y cwch. Cododd y tonau mor uchel fel na ellid gweled cwch arall oedd yn ein hymyl ond ar adegau. Mae yr ystormydd disymwth hyn yn dygwydd yn fynych ar yr adeg hono o'r flwyddyn, ac fel gocheliad rhagddynt tynir yr hwylbreni i lawr gan yr holl longau yn y porthladd, yr hyn a bar fod golwg led ryfedd arnynt oll. Daethom yn fuan at ochr llong lle y cawsom ryw fath o gysgod nes i'r storm fyned heibio; ac o'r diwedd cefais fy hun yn ddiogel ar dir unwaith yn rhagor. Wedi myned drwy y tolldy cymerais gerbyd i'r Universe Hotel, yr hon a gyfrifir yn oreu yn Port Louis. Boreu dranoeth cymerais hamdden i gael golwg ar y dref, yr hon a ddywedir sydd yn cynwys 75,000 o drigolion. Culion yw yr heolydd yn ol dull cyffredin dinasoedd Ffrengig. Ychydig o Ewropeaid a ganfyddwn, ac Indiaid a Chineaid a ffurfient y mwyafrif mawr gyda phob cangen o fasnach. Mae yno luaws o rai o darddiad Ffrengig a elwir yn French Creoles, y rhai ydynt o liw tywyll. Cefais fy siomi yn fawr drwy absenoldeb gwynebau gwynion mewn ynys Brydeinig o bwysigrwydd Mauritius. Wedi blino yn cerdded cymerais fath o gerbyd, a chyn hir daethym i olwg amryw o adeiladau dymunol, a amgylchid a choed a llysiau trofanol.

Rhoddodd y rhan hono o'm taith argraff lawer mwy ffafriol arnaf am y dref nag a gefais ar y cyntaf. Peter Buete yw enw y mynydd uchel pigfain, sydd tu ol i Port Lewis. Gelwir y mynydd yn Peter Buete, am mai dyn o'r enw hwnw yn unig a lwyddodd i gyraedd ei gopa, er fod canoedd wedi amcanu gwneyd hyny, a llawer o honynt wedi dymchwelyd yn ddrylliau i'r gwaelod. Yn wir yr oedd meddwl am ei ddringo yn arswydus, wrth edrych arno o bellder ffordd.

Gan fod Port Louis yn 20° hydred ddeheuol, ceir yno holl fanteision y trofanau, ac hefyd yr anfanteision cysylltiedig, nid y lleiaf o'r rhai yw y clefydau cyffelyb ag a geir ar ororau Affrica ac yn Madagascar. Dywedid fod mwy o salwch yn y dref ar y pryd hwnw nag a fu er y flwyddyn 1866, pan yr adroddir i fwy na haner trigolion y dref gael eu hysgubo ymaith. Yr oedd bron bawb, pan oeddwn i yno, i ryw raddau, dan effeithiau y clefyd, ac nid oedd nemawr yn yr holl dref nad oeddynt yn cymeryd dognau o *quinine* yn gyson. Melynir yr Ewropeaid yn fawr gan y clefyd. Hyd o fewn ugain mlynedd yn ol, dywedir nad oedd lle iachach yn y byd na Mauritius, neu yr Isle of France, fel y gelwid hi; a haerir mai o India y dygwyd y clefyd marwol i'r lle. Nifer y

marwolaethau ar gyfartaledd oeddynt oddeutu ugain yn ddyddiol; yr oedd tua phum' cant o ddyoddefwyr yn yr ysbytdy pan oeddwn i yno.

Y boreufwyd cyntaf i mi yn Ynys Mauritius, ydoeddy rhyfeddaf y bum yn cyfranogi o hono erioed. Yr oedd y *bill of fare* yn gyfangwbl yn y Ffancaeg, a'r un iaith a siaredid gan yr oll o amgylch y bwrdd. Nid oedd genyf i'w wneyd ond dangos i'r *waiter* beth oedd arnaf eisiau oddiar y rhestr, er nad oedd genyf un drychfeddwl beth a fyddai. Ymddengys ei bod yn arferiad ganddynt i roddi potelaid o win ar gyfer pob person gyda phob pryd, ac felly, wrth gwrs rhoddwyd un o'm blaen inau. Newidiwyd fy mhlad oddeutu ugain o weithiau, ac yr oedd cymaint o drafferth o'r fath, fel na ddarfu i mi ei fwynhau haner cystal ag y buaswn bryd o fara ac ymenyn da, gyda *beef steak*, caws a choffi. Yr oedd eu dull mor newydd i mi, a'u dysglau mor amrywiol, fel nas gwyddwn yn iawn pa fodd i'w bwyta. Wedi ymboeni yn y dull hwn am tua dwy awr, codais i ganlyn y gweddill. Ar ol hyny parotodd y perchenog *bill of fare* Saesneg ar fy nghyfer i, a chefais lawer mwy o hwyl gyda'm prydiau. Aethym allan i'r ardd, yr hon oedd yn llawn o brydferth-

wch blodeuol, i eistedd am ychydig ar ol boreufwyd; dylynwyd fi yno gan *waiter*, yr hwn a'm cynorthwyai bron yn mhob symudiad —hyd yn nod i oleu fy *cigar*; a thra yr arosais yno parhaodd y person hwn i'm dylyn fel pe buaswn yn hollol analluog i wneyd dim fy hunan. Ni chawn gymaint ag ymwisgo yn y boreu heb ei gynorthwy ef. Dichon fod yr arferiad hwn yn dderbyniol gan rai wedi eu dwyn i fyny yn y lle, eithr i un fel y fi, wedi bod mor ddiweddar yn gyru a thywysu ychain, ymddangosai yn hollol annaturiol. Ar ol dychwelyd i'r ty, aethym i chwareu *billiards* gyda'r perchenog. Dyma y cyfle cyntaf a gefais wedi gadael America, i chwareu ar fwrdd Ffrengig; yn Australia ac Affrica y rhai Seisnig a ddefnyddir, ond yno, cedwir dyn i edrych ar ol y chwareu.

Pan ddarfyddodd y chwareu aethym tua'r dociau i chwilio am Cadben Thomas, yr hwn a gefais yn y Commercial Bar Tavern, un o'r tafarnau goreu a fedd y dref, ac a gedwir gan Gymraes o Trallwm. Mae chwaer iddi yno hefyd, sef gwraig i berchenog yr York House, yr hwn sydd yn dy da arall. Gall y ddwy siarad Cymraeg gystal ag y siaradant Saesneg a Ffrancaeg. Yn y Commercial Bar y cyferfydd bron yr holl gadbeniaid Prydenig, a bydd

y lle y rhan amlaf yn llawn o honynt. Yr oedd yno ar y pryd gadben Cymreig arall o Newport, yr hwn oedd yn gyfaill i Cadben Thomas, a rhyngom ein tri cawsom ymgom ddifyrus yn ein hiaith ein hunain, tra siaradai y brodorion o'n cwmpas y *Creoli*. Dranoeth aethym i weled y "Gardens," oddeutu pedair milldir-ar-ddeg o Port Louis. Mae rheilffordd yn arwain yno fel i bob parth arall o'r ynys. Yn y lle dymunol hwnw y cartrefa y mwyafrif o'r cyfoethogion, gan ei fod yn un o'r lleoedd uchaf ar yr ynys, ac yn cael ei gyfrif yn lle iach. Yno hefyd mae cofgolofn nodedig Paul a Virginia. Tebyg fod lluaws o'm darllenwyr wedi darllen y nofel am Paul a Virginia yn Isle of France, yr hon sydd bron mor adnabyddus a Robinson Crusoe. Seiliwyd y nofel ar y ffaith i foneddiges o'r enw Virginia, wneyd ymdrechion gwrol i achub bywyd un o'r enw Paul—swyddog ar long a aethai yn ddrylliau yn agos i'r lle— ac i'r ddau foddi mewn canlyniad. Dan y gofgolofn hono y gorwedd eu gweddillion, ochr yn ochr.

Darganfyddwyd Mauritius gan y Portugeaid yn 1505, ac yn 1598 cymerwyd meddiant o honi gan yr Ellmyniaid, y rhai a'i galwasant yn Mauritius, er anrhydedd i'w Tywysog Maurice. Yn 1644, ffurfiasant sefydliad arni, ond

pan gymerasant feddiant o Cape of Good Hope, yn Affrica, ymadawodd bron bawb o'r ynys. Cymerasai y Ffrancod feddiant o Ynys Bourbon, neu Reunion, yn 1757, a thrwy ganiatad yr Ellmyniaid parheid i anfon sefydlwyr yn awr ac eilwaith oddi yno i Mauritius, hyd 1715; ac yn 1721 cymerwyd meddiant ffurfiol o honi gan y Ffrancod, a galwyd hi yn Isle of France. Ni chafwyd nemawr drefn ar yr ynys hyd 1734, pan gymerwyd y llywyddiaeth gan yr enwog M. De la Boudonnaye, yr hwn a adeiladodd Port Louis, fel y gallai llongau o bob math ddyfod i mewn; ac a wnaeth luaws o welliantau eraill yn yr ynys. Er yr oll a wnaeth y gwr hwn, pan ymwelodd a Ffrainc yn 1755, cyhuddwyd ef o bethau ag yr ydoedd yn hollol ddieuog o honynt, fel y profwyd wedi hyny; a thaflwyd ef i garchar, lle y poenydiwyd ef i farwolaeth. Perchid ef yn fawr gan drigolion yr ynys, a chodwyd cofgolofn er coffa am dano. Meddianwyd y lle, ar ol cryn ymladd, gan y Prydeiniaid yn 1810, a phan wnaed cytundeb heddwch yn 1814, trosglwyddwyd hi yn ffurfiol iddynt. Er i'w henw gael ei newid yn ol i Mauritius, mae yr enw Isle of France yn mhell o fyned allan o arferiad yno. Mae amddiffynfeydd cedyrn wedi eu codi o amgylch y brif ddinas. Cyf-

rifir mai y boblogaeth bresenol yw 345,000, o'r rhai y mae 225,000 yn *coolies* o India. Mae y boblogaeth braidd yn ormod i ateb i faintioli yr ynys, yr hon nid yw yn mesur dros 36 milldir o hyd, ac 20 o led, gydag arwynebedd o tua 790 o filldiroedd petryal. Prif gynyrch Mauritius yw siwgr, a diau nad oes un lle yn y byd i'w gyffelybu iddi yn hyn. oddigerth Java. Codir yma hefyd ychydig o'r coffi goreu, yn nghyd a symiau bychain o gotwm, indigo, a pupyr, ac allforir lluaws o goed *ebony*. Am bob peth arall dibynant yn gwbl ar wledydd eraill, yn benaf Australia, Affrica, a Madagascar. Ceir bron yr holl gig a ddefnyddir yno o Madagascar; nid wyf yn tybied fod nemawr o wartheg o un math yn Mauritius. Mae y lle, yn fy nghyfrif i, yn un o'r rhai gwaelaf yn y byd i ddyn gwyn, tlawd; byddai bron yn anmhosibl iddo wneyd ei fywoliaeth yno, gan nas gallai fyw fel yr Indiaid a'r Chineaid, bron yn hollol ar reis. Am yr Ewropeaid yno, maent fel rheol yn dra chyfoethog, gan eu bod bron oll yn gynyrchwyr siwgr ar raddfa helaeth.

Saif yr Isle of Bourbon neu Reunion, tua 90 milltir i'r de-orllewin o Mauritius, a pharha hyd yn hyn yn meddiant Efrainc. Mae yn fwy o ran maintioli na Mauritius, eithr yn

fwy mynyddig a diffrwyth, a'r un modd wedi ei phoblogi yn drwm. Dywedir fod y French a'r French *creols*, yn cymeryd eu byd yn fwy esmwyth yn yr ynys hon, nag yn un ynys na gwlad wareiddiedig arall yn y byd. Mae y negroaid neu frodorion gwreiddiol yr ynys, yn gwneyd pob gwaith mor rad, fel nad yw y bobl wynion a'r *creols* yn ymdrechu gwneyd dim; ond gorweddent yn eu cadeiriau esmwyth mewn lle cysgodol, rhag yr haul, ac maent yn dra hoff o fwynhau eu hunain yn mhob ffordd.

Pan oeddwn yn Mauritius, dywedodd un cyfaill wrthyf, oedd yn dra hyddysg yn Bourbon, os oedd arnaf eisio gwario y gweddill o fy oes gyda phob mwyniant, yn dawel a digyffro, a hyny gyda'r nesaf peth i ddim o arian, mai Bourbon oedd y lle; ond beth bynag ni fu i mi fyned yno, felly nis gallaf ddweyd fy mod yn brofiadol o hyn. Medda borthladdoedd da, a threfydd dymunol; Ffrancaeg a siaredir drwy yr holl ynys. Lled debyg i eiddo Mauritius yw ei chynyrchion, er y codir yno rai pethau yn ychwanegol, yr hyn a'i gwna i raddau yn fwy hunan-ddibynol. Os edrychir ar y *map*, gwelir fod amryw o fân ynysoedd i'r de o'r rhai hyn. Y fwyaf o honynt yw Kerguelen, yr hon sydd agos yr un faintioli a Chymru; ac yn yr un lledred yn ddeheuol ag

y mae Cymru yn ogleddol, ac o ganlyniad yn meddu ar hinsawdd iach. Mae yr oll, modd bynag, yn amddifad o drigianwyr, oblegid eu diffrwythdra. St. Paul yn unig a breswylir gan ychydig arddwyr o Mauritius; ni fynychir y lleill oddieithr gan *whalers*, a llongau eraill fyddant yn chwilio am ddwfr croyw. Dro yn ol, aeth llong Germanaidd yn ddrylliau yn erbyn Crazer Island, a buont yno am ddwy flynedd, pan y dygwyddodd llong ddyfod heibio a'u gwaredu.

Ar ol treulio pum' diwrnod yn Mauritius, cyngorid fi i roddi y bwriad i fyny, gan fod y newyddion diweddaraf a gaed o Madagascar, bedwar mis yn flaenorol, yn rhoddi hanes dychrynllyd am ddifrodiadau y frech wen yno. Modd bynag, aethym i chwilio am long, a chefais fod un o'r enw *Marguerite Anjou*, yn barod i hwylio i Tamatave, a thelais am gludiad ynddi. Cefais lawer o wybodaeth am yr ynys gan y perchenog, Mr. Wilson, yr hwn, fel y cyfeillion eraill, a geisiodd fy mherswadio i beidio myned. Dywedai nad oedd un teithiwr i gael dyfod yn ol ynddi, ac na ddelid un cysylltiad a neb yn Madagascar, ond hyny fyddai yn angenrheidiol i gael ychain i mewn. Ni buasai ef yn anturio myned, oni bae eu bod yn fyr o gig yn Mauritius, a bod

gobaith am dywydd da a gwynt teg yn ystod y mis hwnw o'r flwyddyn. Cychwynodd y llong ar y 7fed o Ebrill, a dysgwylid cyraedd i Tamatave, pellder o 460 o filltiroedd mewn pedwar diwrnod. *Creoles* oedd y Cadben a'r *Mate*, a'r morwyr yn Negroaid. Gallai y ddau flaenaf siarad ychydig Saesneg. Fy unig gyd-deithwyr oeddynt deulu o *creoles* a ymfudent i Madagascar; felly, myfi oedd yr unig ddyn gwyn ar y llestr. Moriasom yn gyflym am y ddau ddiwrnod cyntaf, yna daeth tawelwch fel nas gallem fyned yn mlaen. Bu i mi ddal *shark* gyda rhaff a bach; hefyd yr oedd miloedd o bysgod o bob maintioli i'w gweled yn barhaus, ond mae yn ffaith fod pysgod yn yr amgylchoedd hyny yn wenwynig, ac felly yr oedd y pysgod yn cael llonydd. Ar y pedwerydd dydd, cododd gwynt cryf a braidd yn wrthwynebus, yr hwn a'n gyrai ormod i'r gogledd. Ar y chweched dydd, daethom i olwg Madagascar, ger Foul Point, lle ddeugain milltir yn ogleddol o Tamatave; yna cymerasom *tack* arall rhag ein chwythu i'r lan, a daethom i olwg yr un lle ddau ddiwrnod wedi hyny. Yr oedd y môr mor derfysglyd fel y torwyd ffenestri y caban, yr hwn oedd wedi hyny dan ddwfr. Ond ar y nawfed dydd o'r daith, newidiodd y gwynt ei gyfeir-

iad, felly y galluogwyd ni i redeg i mewn i Tamatave yn ddiogel.

Cyn angori, cododd y Cadben faner felen i fyny, fel arwydd nad oedd un cysylltiad â'r lan i fod. Gan mai hon ydoedd y llong gyntaf a ddaethai i mewn er's cryn amser, daeth lluaws o gychod o fewn cyraedd siarad â ni, a llogais un o honynt i fyned i'r lan. O herwydd ofn y frech wen, gollyngwyd fi a'm celfi i lawr i gwch y llong, yr hwn a adawyd i fyned gyda'r llif ar hyd y rhaff, tua dau gant o latheni, pan y trosglwyddwyd fi a'm pethau i un o gychod y brodorion. Wedi cyraedd y lan, llogais fath o gadair yn cael ei chludo ar ysgwyddau pedwar o'r brodorion, i'm cario i *Hotel de Europe.* Rhywbeth ar ffurf elor yr hen wlad yw y cadeiriau hyn, ond fod yr eisteddle yn esmwyth, fel *rocking chair*, a hwy yw yr unig foddion i drafeilio yn yr ynys. Ffrancod oedd bron yr oll yn y gwestdy, eithr deuais o hyd i un boneddwr o'r enw Okes, oedd yn enedigol o Loegr, ac a fuasai yn byw am ysbaid yn Affrica, o'r lle y daeth i'r ynys hono bymtheg mlynedd yn ol. Daethai o Tananarivo, y brif ddinas, ddau fis yn flaenorol ar ei ffordd yn ol i Affrica, lle yr oedd cartref y wraig, ond o herwydd diffyg cyfleusderau, methai a myned yn mhellach. Deallais yn fu-

an fod yn y lle drafnoddwyr Americanaidd, Seisnig, a Ffrengig, ac heb nemawr drafferth, daethym o hyd i'r Mil. Robinson, y trafnoddydd Americanaidd, gan fod y *stars and stripes* yn chwifio uwchben y goeden *cocoanut* a amgylchai ei aneddle. Hen fachgen braf yw Robinson, genedigol o Fair Haven, Vt., ond yn fwy diweddar o Swydd Monroe, Wisconsin; a dywedai ei fod yn adnabyddus ag amryw Gymry yn y cylchoedd hyny. Wedi cael adnabyddiaeth â Robinson, ni bum yn hir cyn cael adnabyddiaeth a phawb allent siarad Seisneg yn y dref, y rhai nid ydynt dros ddeugain o nifer allan o boblogaeth o ddeng mil. Treuliwn bron bob nos gyda Robinson yn nhai rhai o'r personau uchod, gan gael amser difyrus iawn.

Mae yn Tamative fasnachdai cyfanwerthol, Americanaidd, Seisnig, Ysgotaidd, Ffrengig, a Germanaidd, y rhai a gadwant oruchwylwyr yn y brif ddinas a pharthau eraill o'r wlad. Cwynent oll o herwydd caledi yr amseroedd. Medda y tramorwyr dai da a dymunol, yn enwedig yr Americaniaid a'r Ysgotiaid. Mae eiddo Mr. Aiken, Ysgotwr caredig, yn dri uchder llofft, a chydag amryw *cottages* bychain o'i amgylch, am y rhai y câ renti uchel. Eithr, a chymeryd y dref drwyddi, nid oes ynddi ond

un heol deilwng o'r enw; am y gweddill, sef tai y brodorion, nid ydynt nemawr gwell na chynifer o fwthynod Kaffirs Affrica, oddieithr eu bod yn bedair-onglog yn lle yn grynion. Eu defnydd gan mwyaf yw dail y *traveler tree.* Oddiar yr bau mae golwg brydferth ar y dref, eithr wedi dyfod iddi, ceir mai lle gwastad ydyw, ac amgylchir hi gan gorsydd afiach hyd at draed y mynyddoedd, ddeg neu ddeuddeg milldir o ffordd, y rhai a welir yn ymgodi y naill tu ol ac uwchlaw y llall, hyd i'r parthau mewnol o'r Ynys. Un diwrnod aeth parti o honom, yn cynwys Mr. Aiken, Mr. Proctor (perchenog y masnachdy Seisnig), a'i wraig, ac Ysgotwr arall, i weled planigfa goffi berthynol i'r blaenaf. Aethom trwy bentref bychan Evondro, lle mae safle genadol Mr. and Mrs. Batchelor, y rhai a ddaethant gyda ni i fyny yr afon Evondro. Mae hon yn afon fawr lydan, er nad yn ddofn, ac yr oedd yr olwg oddiarni yn wir ardderchog, yn fwy felly na dim a welais yn Neheubarth Affrica, nac yn un lle arall. Yr oedd lluosogrwydd o'r *traveler trees, bananas,* a choed *cocoa nut,* ar hyd glanau yr afon; a gwelsom hefyd amryw o grocodilod anferth, y rhai a grwydrant yn fynych gryn bellder oddiwrth yr afon, a lleddir lluaws o'r brodorion yn flynyddol ganddynt.

Wedi tair awr a haner o rwyfo, cyrhaeddasom y blanigfa, yr hon a safai ar fryn bychan. Newydd ei phrynu yr oedd Mr. Aiken am $450, a hwn oedd y tro cyntaf iddo ei gweled. Ei pherchenog blaenorol ydoedd Germaniad, yr hwn a wariodd $2,500 ar y lle, ond a fu farw o'r clefyd yn mhen blwyddyn wedi ei sefydliad yno. Diau ei bod yn werth llawer mwy nag a dalodd Mr. Aiken am dani; eithr mae yn sicr o fod yn lle hynod afiach, fel mae yr holl dir tua glanau yr afon. Geilir cael tir yn rhad, eithr mae deddfau y wlad yn gyfryw fel na oddefir i neb wneyd nemawr o wellinatau arno. Ni chaniata y Frenines na'r brodorion i gymaint a chareg gael ei saethu o'r ddaear, nac i goeden gael ei chario o'r Ynys; ni oddefir ychwaith i adeilad o unrhyw ddefnydd heblaw coed gael ei godi, na ffordd gael ei gwneuthur yn unrhyw fan. Nid oes amheuaeth nad yw Madagascar yn un o'r lleoedd cyfoethocaf mewn ystyr fwnawl, ond o herwydd y gwaharddiadau hyn, erys yr adnoddau ynddi heb eu dadblygu. Er fod cyflawnder o lo ellid ei gael yn yr Ynys, hyd yn hyn glo Caerdydd sydd yn cael ei losgi yn Tamatave.

# PENNOD VII.

*Desgrifiad o Tamatave—Y tramorwyr—Taith i fyny afon Evandro—Afiechyd yr amgylchoedd—Deddfau y wlad—Cychwyn i Tananarivo, y brif ddinas—Ar hyd y llynau i Andavoranto—Y pentrefydd a'r coedwigoedd. Rhyfeddodau y daith—Traveler trees—Nerth y brodorion—Golygfeydd rhyfeddol—Cyraedd Tananarivo—Cyfarfod a Chymro—Hanes boreuol y wlad, &c. &c.*

Y parotoad cyntaf ar gyfer y daith i Tananarivo ydoedd, prynu un o'r cludgadeiriau y soniwyd am danynt, neu *filanzan* fel y gelwir hwy, a chefais un o honynt am bum' dolar. Wedi hyny rhaid oedd cael wyth o ddynion, sef chwech i gario y *filanzan* a dau i gario fy *luggage*. Yn mhen ychydig fynydau wedi i'r hysbysiad gael ei roddi, yr oedd mwy na chant o'r brodorion wedi ymgasglu, a mawr oedd eu braw wrth ymholi am y gwaith. Yr oedd yn rhaid i ni gymeryd cyflenwad o wahanol fathau o ymborth gyda ni, gan mai dofednod, wyau a phytatws oeddynt yr unig bethau allem gael ar y ffordd. Hefyd, yn ol cyngor Mr. Oakes, cymerais gyda mi ddwy botelaid o *quinine*, rhag y buaswn yn cael y clefyd. Gwnaeth Mr. a Mrs. Oakes eu goreu i'm cyfarwyddo yn

nghylch y ffordd, ac ysgrifenasant nifer o ddalenau yn cynwys y geiriau ac enwau pethau a fyddent yn angenrheidiol i mi ar y ffordd.

Cychwynais tua phump o'r gloch prydnawn y 25ain o Ebrill, yn nghwmni tri o fasnachwyr Ffrengig—un o honynt yn gallu siarad ychydig Seisneg—y rhai oeddynt yn myned yn yr un cyfeiriad a minau can belled a lle o'r enw Andavoranto. Rhoddasom i fyny y noson gyntaf yn Evondro, lle yn ystod y nos y deffrowyd ni gan gwmni lluosog o ddynion a merched brodorol, yn canu o amgylch y ty. Boreu dranoeth aethom i lawr yr afon Evondro mewn pedwar o gychod a berthynent i'r Ffrancwyr, ac wedi haner awr o rwyfo ar yr afon, troisom i gyfeiriad deheuol gan ddylyn math o lynoedd o ddwfr llonydd, y rhai mewn manau oeddynt yn bump neu chwe' milldir o led, tra mewn eraill mor gyfyng fel mai prin y gallem gael ein cychod drwodd. Aethom yn mlaen yn y modd hwn am ddau ddiwrnod nes cyraedd Andavoranto, 65 milldir i'r de o Tamatave. Gorwedda y llynoedd hyn yn un gadwen am rai canoedd o filldiroedd ar hyd yr arfordir dwyreiniol, ac mewn manau mor agos i'r mor fel y clywir swn y tonau ar y traeth. Y dyfroedd llonydd hyn yn benaf ydynt yr achos o'r clefydau mynych a fodolant yn y

parthau hyn o'r Ynys. Gorfu i ni mewn manau gario ein cychod am chwarter neu haner milldir o herwydd nad oedd y llynau yn gysylltiol. Pan o fewn tua deng milldir i Andavoranto, cymerwyd un o'r cyfeillion Ffrengig yn sal gan y clefyd. Er mai anfynych y teithir y deng milldir hyn gyda'r cychod, gorfu i mi, gydag un o'r Ffrancwyr, wneyd hyny, gan i'r dyn claf gael benthyg y *filanzan*. Yr oedd ein ffordd yn awr drw ffos gul yn nghanol coedwig, gyda'r coed mor dewion o'n hamgylch fel nas gallem ddal ein gwlawleni i fyny er ei bod yn gwlawio. Ar ol cryn drafferth cyrhaeddasom Andavoranto erbyn naw o'r gloch nos y 27ain, yn hollol wlybion.

Mae pentrefydd bychain i'w cael yn weddol reolaidd rhwng Tamatave ac Andavoranto, yn cynwys deg neu ddwsin o dai ysgwar, yn gwynebu eu gilydd ar lan y dwfr. Pan fyddai yn bryd brecwast neu ginio (yn ol dull y Ffrancod, dau bryd y dydd oeddym yn gael) chwiliem am y goreu a'r glanaf o'r tai hyn, ac wedi rhoddi darn arian gwerth pump neu chwe' cent i'r perchenogion, aent hwy allan gyda'r parodrwydd mwyaf, gan adael y ty at ein gwasanaeth ni, tra y byddem yn cogino a bwyta ein hymborth. Gellid yn hawdd gael y tai dros nos am swm bychan cyffelyb.

Maintioli y tai yw tuag ugain troedfedd ysgwar, neu debyg i dai a welir yn neheubarth yr Iwerddon, oddieithr eu bod fel rheol yn llawer glanach na rhai y bum i yn byw ynddynt yno. Rhagorant hefyd yn fawr ar fwthynod y Kaffirs yn neheubarth Affrica, ac yn wir ymddengys fod y brodorion hyn ar y blaen i'r Kaffirs yn mhob peth. Andavoranto yw y pentref pwysicaf ar hyd yr holl ffordd o Tamatave, a glania rhai llongau masnachol yno. Oddi yno hefyd y cychwyna y llwybr i'r brifddinas. Boreu dranoeth gadewais y lle, gydag un Ffrancwr oedd yn myned tua'i gartref, gan fyned ar hyd afon can lleted a'r Mississippi. Wedi rhwyfo am bedair awr, troisom i gyfeiriad gorllewinol, ac yn mhen tua'r un ysbaid drachefn cyrhaeddasom Morwbe, wrth odreu y mynyddoedd, lle yr ymrana yr afon yn amrywiol gangenau; ac o hyny allan teithiasom gyda'r *filanzan.* Yn fuan cyrhaeddasom gartref y Ffrancwr lle y cawsom luniaeth, ac yna prysurais i a'm cwmni yn mlaen drwy ddyffrynoedd a thros fryniau a choedwigoedd o'r *traveler trees.* Gwelir un o'r pentrefi hyn yn cael ei amgylchu a'r *traveler trees,* ar tu dalen 183.

Madagascar yw yr unig le y ceir y coed hyn, a chawsant eu henw oddiwrth y ffaith fod




PENTREF YN MADAGASCAR, A CHOED Y TEITHWYR.

dwfr i'w gael oddiwrthynt at dori syched y teithwyr lluddedig. Dywed rhai hanesion fod tua chwart o'r dwfr goreu i'w gael wrth dori twll yn ngwaelod y dail. Rhoddais brawf ar hyny drwy gael gan y brodorion blanu eu gwaewffyn ynddynt, a bwrlymodd digon o ddwfr o honynt i ddisychedu unrhyw ddyn. Nid wyf fi, modd bynag, yn hoff o hono, gan ei fod ychydig yn felus, a phan fydd yr haul yn tywynu ar y dail, bydd ychydig yn gynes. Nid oes nemawr o'i angen ychwaith er disychedu neb, gan fod digonedd o ddwfr grisialaidd i'w gael; mewn parthau o ddeheubarth Affrica, buasai yn ddefnyddiol iawn. Eithr teilynga y coed yr enw o herwydd y defnydd helaeth a wneir o'u dail, y rhai a dyfant i dair neu bedair troedfedd o led. Defnyddir hwy fel *table cloths* gan deithwyr, a gwneir llwyau o honynt at fwyta reis gan y brodorion; gwasanaethant hefyd yn lle llechau i doi y tai ar hyd yr arfordir.

Yn mhen dau ddiwrnod ar ol gadael Andavoranto, collasom olwg ar y *traveler trees*, gan ein bod yn rhy uchel yn y mynyddoedd; ond nid oedd eu gwasanaeth yn angenrheidiol gan fod digonedd o ddyfroedd grisialaidd i'w cael. Yr oeddym yn teithio ar hyd y ffordd waethaf a welais erioed—dim ond rhyw lwybr

drwg, cul a garw. Ceid golygfeydd ardderchog, modd bynag, o rai manau, yr hyn oedd yn ddigon o ad-daliad i mi am holl drafferthion y daith. Buom am ddau ddiwrnod yn gweithio ein ffordd drwy goedwig, i fyny ac i lawr, ar hyd llethrau serth. Byddai y llwybr rhwng y coed mor gul mewn manau fel y gorfyddai i'r brodorion gario y *filanzan* yn eu breichiau, yn lle ar eu hysgwyddau. Yn y nentydd rhwng y bryniau, rhedai afonydd, drwy y rhai y byddai raid i'r brodorion yn fynych gerdded am bellder mawr gan eu croesi yn aml. Ni wna y Malagazi unrhyw fath o bont oddieithr lle y byddo y dwfr yn rhy ddwfn i gerdded drwyddo, neu mewn manau a fynychir gan *alligators*, o'r rhai y mae ganddynt arswyd mawr. Ni bydd y pontydd a wnant gan amlaf ond coeden fain wedi ei thaflu ar draws y ffrwd, ac maent yn dra deheuig i groesi y rhai hyn gyda'u llwythi; dyma a gyfrifir gan y cenadon yn beryglon y daith, ac yn wir y mae felly i'r neb fyddo yn y *filanzan*. Am danaf fy hun yr oedd arnaf lai o arswyd i gerdded ar draws y pontydd nag i aros ynddi.

Mae gallu teithiol brodorion Madagascar bron yn anhygoel. Er engraifft, mewn un diwrnod bu iddynt fy nghario—a chofier fy mod ar y pryd tua 175 pwys—bellder o 35

milldir ar hyd llwybr y buasai yn ddigon o orchwyl i Ewropead gerdded deng milldir heb un math o faich i'w gario. Gwnaethant amser cyflym anarferol ar hyd yr holl daith, gan mai saith niwrnod a gymerodd i ni deithio o Tamatave i Tananarivo, pellder o rhwng 185 a 200 o filldiroedd, o'r hyn yr oedd 65 milldir ar hyd ddwfr. A chymeryd y daith ar ei hyd yr oedd yn llawn cynddrwg, os nad gwaeth a phe teithiasid ar draws mynyddau a choedwigoedd am yr un pellder, a hyny mewn parthau lle nad oes math yn y byd o ffordd wedi ei hagor. Felly mae'n hawdd credu fod gallu y chwech a'm cludent bron yn ymylu ar y gwyrthiol. Credwyf nad oes eu cyffelyb i'w cael yn yr holl fyd yn yr ystyr hwn. Eu prif ymborth oedd reis. Yn California, tybir mai yr achos nad yw y Chineaid mor gryfion a'r Americaniaid yw, eu bod yn ymborthi bron yn gwbl ar reis, eithr ymddengys i mi fod hyny yn cael ei wrthbrofi yn amlwg yn nhrigolion Madagascar. Gwir y gwna y rhai hyny fwyta cig neu unrhyw ymborth arall pan allant ei gael, eithr anfynych y dygwydd hyny.

Wedi myned drwy y goedwig daethom i wastadedd, yr hwn a dybir fu unwaith yn wely llyn anferth. Ar ochr arall y gwastad-

edd, gwelid y mynyddau serth yn ymddyrchafu, a'r llwybr cul, a choch, yn ganfyddadwy am bellder mawr. Ni buaswn yn ei hystyried yn nemawr llai o orchwyl i ddringo i ben y Wyddfa, na dringo y mynydd cribog hwn; eithr cyn pen nemawr o amser yr oeddwn trwy gymorth y cawri dynion hyny, ar ei gopa, lle cymerais orphwysdra am enyd, er mwynhau yr olwg ardderchog ar y wlad y daethwn drwyddi. Ar ol teithio am tua chwarter milltir, cyrhaeddasom ochr arall y mynydd, yr hon oedd yn llawn mor serth a'r llall; eithr yr oedd yr olygfa yn fwy dymunol, gan fod y cwm islaw yn llawn o reis, ac afon ddysglaer yn ymlwybro drwy y canol. O'r fan hono hyd y brifddinas, yr oedd y wlad yn fwy llwm o goed, a gwelid llawer mwy o dir llafur. Yn mhob man yn yr amgylchoedd hyn, yr oedd pytatws, wyau, biff a reis i'w cael yn rhad. Yr oedd y boblogaeth yn fwy lluosog na thua'r arfordir, y pentrefi yn amlach, a'r tai yn fwy tebyg i eiddo pobl wareiddiedig—gan amlaf yn ddau uchder, ac yn wneuthuredig o geryg a llaid. Wrth syllu arnynt o ychydig bellder, yr oedd golwg ddymunol ar rai o'r pentrefi.

Yn foreu y seithfed dydd ar ol gadael Tamatave, cefais yr olwg gyntaf ar Tananarivo, o

ben mynydd tua phymtheg neu ugain milldir o bellder. Gan fod fy nghludwyr wedi teithio mor gyflym, cymerais ychydig drugaredd arnynt drwy logi tri eraill i'w cynorthwyo, a chefais fyned ar drot bron bob cam oddi yno i'r ddinas. Taflent y *filanzan* o'r naill ysgwydd i'r llall gyda'r fath nerth rai gweithiau, nes fy ysgwyd yn ddychrynllyd. Erbyn tua thri o'r gloch y prydnawn cyrhaeddais i gwr iselaf y dref, a chefais olwg fanteisiol ar balas y Frenines, y coleg a'r capelau. Mae y dref wedi ei hadeiladu ar lechwedd bryn; mae'r olwg arni yn lled ryfedd, gan fod y tai a'r capelau yn ymddyrchafu y naill uwchben y llall o waelod y bryn hyd ei gopa. Yr oedd ein mynediad i'r dref drwy lwybr cul, gyda muriau mor uchel ar y ddau du, fel nas gallwn weled drostynt. Telid sylw mawr i mi ar fy nhaith drwy y dref—y brodorion yn ymgasglu o bob cyfeiriad, ac yn llygad-rythu arnaf.

O'r diwedd cefais fy hun wrth dai y personau yr oedd genyf lythyrau cymeradwyaeth atynt, oddiwrth y cyfeillion yn Tamatave. Yr oedd genyf bedwar o lythyrau yn gyfeiriedig at bersonau o'r enwau Roberts, Dawson, Tommy a Dr. Street, y tri blaenaf yn fasnachwyr ar olaf yn genadwr cyfrifol. Nid oedd yn y dref ar y pryd, a gadael allan y cen-

adon o America, ond un ar ddeg o Ewropeaid heblaw fy hunan. Penderfynais ymweled yn gyntaf a Mr. Roberts, gan y tybiwn mai Cymro ydoedd. Yr oedd ei fasnachdy wedi ei amgau a muriau o geryg a llaid. Wedi rhoddi y llythyr iddo cefais dderbyniad croesawgar iawn ganddo. Cymro twymgalon o Sir Gaerfyrddin yw Mr. Roberts. Daethai i Madagascar saith mlynedd yn flaenorol o Australia, ac y mae yn un o'r masnachwyr mwyaf llwyddianus yno. Y noson hono galwodd Mri. Dawson a Tommy yn nhy Roberts, a chawsom amser difyr anghyffredin. Gan fod Mr. Dawson yn meddu ar well ystafelloedd a gwelyau, penderfynais gartrefu gydag ef tra yr aroswn yn y dref; ac yr oedd yntau yn falch o'r cwmni, gan mai bachgen ieuanc sengl ydoedd.

Marco Polo, pan yn ei ddydd, tua chwe' chant o flynyddoedd yn ol, a ysgrifenodd fel y canlyn am Madagascar: "Oddeutu mil o filldiroedd i'r de-orllewin o Sokotera y gorwedd Magaster, un o'r ynysoedd mwyaf, a'r gyfoethocaf yn y byd. Mae hi yn dair mil o filldiroedd mewn amgylchedd, ac wedi cael ei phoblogi gan y Mahometaniaid, ac yn cael ei llywodraethu gan bedwar o hen ddynion. Mae y bobl yn byw trwy fasnachu, a gwerthu dan-

edd elephaniaid, ac maent yn bwyta cig camelod. Mae yr ynys yn llawn o fwystfilod gwylltion, megys llewod, llewpartiaid, *giraffes*, asynod gwylltion, &c. Sidanau, brethynau, ac aur, a nwyddau gwerthfawr, a ddeuant yno o wledydd tramor. Anaml y mae llongau yn myned i un o'r ynysoedd yn y cyfeiriad hwnw, ond yno a Zanzibar, o herwydd nerth y *current*. Mae bron yn annichonadwy dychwelyd i'r gogledd o herwydd hyny. Mae y llong *Malabar* yn myned yno mewn ugain diwrnod, ond cymer iddi dri mis i ddychwelyd. Ar amser neillduol o'r flwyddyn, mae rhyw fath o aderyn tra hynod, a elwir *rukh*, yn dyfod i'r ynys o'r dê. Mae yn debyg i eryr, ond ei fod mor fawr a nerthol, fel y mae yn gallu cymeryd elephant i fyny yn ei grafangau, a'i godi yn ddigon uchel i'w ollwng i lawr, fel y profa y cwymp yn farwolaeth iddo, yna bydd iddo ei fwyta. Mae adenydd yr aderyn pan wedi eu lledu yn bymtheg cam o hyd, a'i blu yn ddeg troedfedd o hyd, ac yn dewion mewn cydmariaeth."

Mae yn amlwg na fu Marco erioed mewn canoedd o filldiroedd ei hun i Ynys Magaster, fel y galwai hi. Yr oedd wedi cael ei gamarwain gan y morwyr, neu ynte wedi dychymygu y pethau yna ei hun. Mae rhai peth-

au y sonia am danynt yn fwy cymwys i Affrica nag i Madagascar. Ni fu y Mahometaniaid erioed yn poblogi yr ynys, na chwaith ni fu y pedwar hen ddyn yn ei llywodraethu; ac mae mor sicr a hyny na welwyd erioed elephantiaid, *giraffes*, na chamelod, yn yr ynys. Mae y stori am yr aderyn anferth a nodwyd uchod yn hollol ddisail.

Gadawn Marco Polo, ac awn at yr hanes cywir, y gellir ei olrhain a'i gael yn wirionedd. Lorenzo Almeida, brawd i Raglaw Portugeaidd India, oedd yr Ewropead cyntaf a weloddd Madagascar, yr hwn a hwyliodd heibio i'r ynys yn 1602, ac a'i galwodd hi *St. Lawrence.* Chwe' mlynedd ar ol hyny, glaniodd cwmni mawr o'r Portugeaid yno; cymerodd y rhai hyny hawl o'r ynys yn enw Brenin Portugal, eithr ni lwyddasant yn eu hanturiaeth. Er fod y Ffrancod, yr Ellmyniaid a'r Saeson wedi amcanu yr un peth, sef meddianu yr ynys, eto nid oes yr un o'r galluoedd Ewropaidd wedi enill safle barhaus yn Madagascar, er cymaint fu yr awydd am ei meddianu. Yn 1644, Mr. Richard Boothby, masnachwr o Lundain, a dalodd ymweliad â Madagascar, ac a gyhoeddodd hanes y pethau oedd wedi eu gweled, neu o leiaf y pethau a ddymunai i'r cyhoedd gredu iddo weled. Mae yn haeru fod yr ynys tu

hwnt i bob amheuaeth yn mhell o flaen Asia, Affrica ac America, a phob gwlad arall, lle yr oedd y Ffrancod, yr Ellmyniaid, y Portugeaid a'r Spaniaid wedi ymsefydlu arnynt. Mae yn myned yn mlaen mewn iaith flodeuog a mawreddog, i ddangos rhagoriaethau Madagascar ar wlad Canaan, yr hon oedd yn llifeirio o laeth a mel. Mae yn amcanu dangos ei bod yn fyd bychan ynddi ei hun, heb fod yn cysylltu, nac o fewn canoedd o filldiroedd i un wlad arall. Yn fyr, yr oedd yn rhoddi darluniad o honi fel pe buasai yn unig baradwys y byd. Mae genym hanes am rai cenedloedd Ewropaidd wedi gwneyd ymgais i sefydlu trefedigaethau mewn gwahanol barthau o Madagascar, o'r flwyddyn 1742 hyd 1825, ond buont oll yn aflwyddianus.

Yn y flwyddyn 1696, yr oedd hwyl-long Ellmynaidd yn y Mozamique Channel, ar ei mordaith o Bombay, India, i Charleston, South Carolina, America, a bu iddi gael ei chadw mor hir yn yr amgylchoedd, o herwydd diffyg gwynt, fel y bu i'w hymborth fyned yn brin; ac o herwydd hyny hwyliodd y cadben am ryw angorfa yn Madagascar, er cael digon o fwyd i fyned a'i lestr i ben ei thaith. Llwyddodd i gael swm mawr o reis, ac yna aeth yn mlaen ar ei fordaith; a phan y cyrhaeddodd

Charleston, yr oedd ganddo ychydig o chwartiau o reis yn weddill. Anrhegodd y cadben Thomas Smith, Llywodraethwr y Dalaeth, â'r chwartiau reis. Cafodd fod y reis y rhai goreu a welodd erioed, a daeth i'w feddwl y bydd. ai yn werth cael gwybod a oedd modd eu tyfu yn y Carolinas. Rhanodd hyny oedd ganddo rhwng ei gyfeillion mewn gwahanol fanau; a phlanodd ef ei hun ychydig mewn gardd, sef yn y lle a elwir yn awr *the heart of Charleston*, ac erbyn hyn y lle mwyaf poblogaidd yn y De. Cafodd fod y ddaear a'r hinsawdd, a phob peth arall, mor naturiol iddynt a'r wlad lle tyfasant gyntaf. Cafodd pawb o'i gyfeillion hefyd eu boddloni yn fawr yn y reis a dyfasant. Dyna ddechreu bychan ar fasnach y reis yn y Carolinas a Georgia, ac mae y fasnach erbyn heddyw wedi chwyddo i fod yn fwy pwysig a helaeth nag yn un ran arall o'r byd.

Ychydig flynyddoedd ar ol yr amser a nodwyd, mae genym hanes am y môr-ladron yn llenwi pob llongborth ar ororau Madagascar, ac yn ysbeilio pob llong o'r India a allent ddyfod o hyd iddi, heb ofalu dim i ba genedl yr oeddynt yn perthyn. Mae hanes difyrus am y Cadben Kid, yr hwn a wnaeth ei amddiffynfa ar y *Comoro Island*, yn agos i'r pen

gogleddol i Ynys Madagascar. Mae yr hen adeilad a osododd i fyny y pryd hwnw, i'w weled yno yn awr. Ond beth bynag ni bu yn hir cyn i'r Ffrancod a'r Saeson ymlid y môr-ladron allan o fodolaeth, neu o leiaf bu i lawer o honynt gael eu gyru i drancedigaeth ac ebargofiant. Aeth y gweddill o'r môr-ladron i'r wlad, lle y bu iddynt, trwy gymorth rhyw fath o benaeth oedd y pryd hwnw ar y rhan hono o'r ynys, lwyddo i gael llawer o'r bobl yn gaethion iddynt. Dyna oedd prif waith y môr-ladron am flynyddoedd, sef dal pobl i'w caethiwo. Yr oedd y coedwigoedd yn llawn o'r rhai hyn, yn dal pawb a allent, a'u gwneyd yn gaethion. Yr oedd holl dai y *Chief*, sef eu penaeth, wedi eu gwneyd yn *drap* i ddal y bobl, yn y modd canlynol: Byddai i'r penaeth wahodd ei gymydogion i wledd fawr yn ei dy, ac yno yr oedd wedi cloddio twll mawr yn y llawr, yr hwn oedd wedi ei gau i fyny mor egwan, fel y byddai y gwahoddedigion yn sicr o syrthio drwodd i'r twll, lle byddai iddynt gael eu gwerthu i'r caethfasnachwyr. Ynysoedd Bourbon a Mauritius, y rhai oedd ar y pryd hwnw yn ngafael y Ffrancod, oeddynt y prif farchnadoedd i'r caethion hyn o Madagascar; ac yr oeddynt yn credu yn wirioneddol mai cael eu cymeryd i'r ynysoedd i

gael eu bwyta gan yr Ewropiaid yr oeddynt. Mae bryn uchel, yr hwn a elwir hyd y dydd heddyw yn *Weeping Hill*, am mai oddiar ben hwnw yr oeddynt yn gweled y môr gyntaf ar eu ffordd i lan y môr, gyda'u meistr creulon.

Mae Mr. Grandidier, Ffrancwr ar ol, gwario pum' mlynedd yn Madagascar, (ac yn ddiameu efe a welodd fwyaf o lawer o honi,) wedi cyhoeddi deuddeg o gyfrolau mawrion o'i hanes, ac mae yn debyg y bydd y gwaith galluog hwn yn cael ei gyfieithu i'r Saesoneg yn uniongyrchol. Hefyd, bu i Dr. Mullens, Ysgrifenydd y *London Missionary Society*, dreulio blwyddyn yno, a theithiodd, mae yn debyg, gymaint a neb arall o'r cenadon; eithr ni chyhoeddodd ond un llyfr bychan am ei deithiau. Eithr bu i Mr. Ellis, yr hwn oedd yn yr un swydd a Dr. Mullens, dalu ymweliad â Madagascar bedair gwaith, rhwng y flwyddyn 1853 a 1861; ond er na fu Mr. Ellis nemawr yn mhellach na'r brif ddinas o gwbl, eto efe yw yr unig un sydd wedi llafurio i wneyd cyfrol fawr o hanes yr ynys a'i thrigolion. Mae ei waith yn un o'r rhai goraf ellir gael yn Saesoneg. Er ei fod yn dweyd pethau rhyfedd, eto y mae yn mhell o gydweled â Mr. Boothby, ei bod yn brif baradwys y byd.

Mae cyfnod wedi bod ar y Cristionogion yn

Madagascar, sydd yn dwyn i'n cof amser Nero, Domitian, a Diocletian; erledigaeth y merthyron trwy losgi yn amser Mary Waedlyd, a chrogiad y Pabyddion yn amser Elizabeth. Yn y fl. 1808, cymerodd bachgen o'r enw Radama afael yn awenau llywodraeth Madagascar, ac yr oedd ei dad yn Frenin o'i flaen, ond nid ar yr holl ynys, fel y daeth ei fab Radama ar ol ei farwolaeth. Er nad oedd ond un-ar-bymtheg oed pan gymerodd y Freniniaeth yn ei law, perchenogai dalentau, meddwl coeth ac anturiaethus. Bu i'r Ffrancod o Mauritius ac ynys Bourbon, fygwth meddianu Madagascar, newydd iddo ymaflyd yn yr awenau; ond chwarddodd Radama am eu penau, gan wneyd y bygythion mwyaf echrydus. Eithr wedi y cwbl, yr oedd yn dda ganddo ddeall fod y Prydeinwyr wedi cymeryd Mauritius oddiar y Ffrancod yn 1810. Yn 1816, anfonodd Llywodraethwr Mauritius genad at y Brenin Radama, yr hwn a'i derbyniodd yn groesawgar; ac i ddangos ei ffydd i'r Llywodraethwr, anfonodd Radama ei ddau fab bychain i'w ofal, i gael dysgeidiaeth yn Ynys Mauritius. Addawodd roddi i fyny gaethwasiaeth, os rhoddai y Prydeinwyr iddo nifer arbenig o arfau rhyfel yn flynyddol, yn nghyd a dau geffyl, a phâr o'r dillad goreu iddo ef ei hun. Bu iddo hef-

yd gadw milwyr Prydeinig, er mwyn dysgu ei filwyr ef i fod fel milwyr Seisonig. Crybwyllwyd hefyd wrtho am y Genadaeth Gristionogol, ac nid oedd gan Radama un math o wrthwynebiad i hyny, ond yn hytrach yr oedd yn falch o honi; eithr nid am ei fod yn gweled dim daioni mewn Cristionogaeth ei hun, ond credai y byddai hyny er lles masnachol i'r ynys, ac i roddi dysgeidiaeth i'w bobl. Dengys hyn mai busnes oedd gan Radama mewn golwg yn fwyaf neillduol. Ysgrifenodd at lywyddion y *London Missionary Society* yn debyg i hyn: "Yr wyf wedi boddloni fy hun nad oes arnoch ond eisiau gwneyd daioni, trwy anfon cenadon i'n goleuo a'n dysgu i fod yn hapus, yn ol dull cenedloedd Ewrop, o ganlyniad yr wyf yn erfyn arnoch anfon cynifer o'r cenadon ag a fyddwch yn weled yn oreu. Eithr yr wyf yn hyderu y bydd i chwi anfon dynion hyddysg mewn pob math o gelfyddyd, i ddysgu fy mhobl i fod yn grefftwyr da, yn gystal ag i fod yn Gristionogion. Dymunwn i'r cenadon cyntaf fod yn alluog i ddysgu fy mhobl mewn Cristionogaeth, ac hefyd i'w dysgu i wneyd dillad. Hefyd, y mae arnom eisiau gofaint, seiri coed, a phob math o grefftwyr cywrain."

Drwy fod gan y Gymdeithas Genadol aw-

ydd mawr, er's amser, am gael lle i lafurio yn Madagascar, cymerasant y cyfleusdra hwnw i anfon dau Gymro yno, sef David Jones a Samuel Bevan, yn nghyd a'u gwragedd a'u plant. Eithr yn anffodus, o herwydd cartrefu mewn lle afiach, bu yr oll ond Mr. Jones farw o glefyd dinystriol, yn mhen ychydig wythnosau wedi myned yno. Bu raid i Mr. Jones fyned yn ol i Mauritius, er enill ychydig nerth ac adfywiad corfforol; ond yr oedd ei galon yn y gwaith yr anfonwyd ef i'w gyflawni, ac yn 1820 dychwelodd yn ol i Madagascar. Aeth ar ei union i'r brif ddinas, Antananarivo, lle y cafodd y derbyniad mwyaf croesawgar gan y Brenin Radama. Cyn hir, anfonwyd David Griffiths, Cymro arall, ato i lafurio. Dyma hanes cywir o ddechreu y Genadaeth yn Madagascar; ac er na fu Radama yn proffesu crefydd, nac, yn ol pob tebygolrwydd, yn meddwl dim am hyny, eto bu yn ddyn da i'r cenadon, ac i'w bobl. Yr oedd yn ddyn call a chyfrwys iawn, a hoffid ef yn fawr gan y cenadon a'r bobl. Yn 1825, traddododd y Brenin Radama araeth mewn arholiad efrydwyr ysgol ddyddiol, a dywedodd fel y canlyn wrth y myfyrwyr: "Mae y ddysgeidiaeth ydych yn ei derbyn yn gwneyd daioni i fasnach, ac i Radama a'i bobl, ac mae ganddo amryw fil-

oedd eisoes o grefftwyr medrus, y rhai allant wneyd llawer o bethau cystal a'r Saeson eu hunain."

Eithr ar y 27ain o Orphenaf, 1828, bu y Brenin Radama farw, yn 36 mlwydd oed; ond bu i'r newydd hwn gael ei gadw yn ddirgel oddiwrth y bobl yr amser hwnw. Nid oedd iddo fab, ac yn mhen tri diwrnod ar ol marwolaeth Radama, rhoddwyd hysbysiadau cyhoeddus allan, fod Radama wedi rhoddi ei Freniniaeth i fyny, a myned at ei dad; ac iddo enwi Ranavalona, sef ei wraig ieuengaf, i gymeryd ei le, a thrwy hyny gwnaed hi yn Frenines yn y fan. Beth bynag, cafwyd fod perthynasau agosaf Radama wedi eu lladd, a deallwyd wedi hyny mai wedi ei ladd yr oedd yntau hefyd. Rywfodd neu gilydd, bu i Ranavalona barhau i deyrnasu ar Madagascar am 33 o flynyddoedd, neu hyd y flwyddyn 1861, a hyny yn wahanol hollol o ran egwyddorion i Radama. Yr oedd y Frenines yn wrthwynebol i, a llidiog yn erbyn Cristionogaeth, gan haeru fod Cristionogaeth wedi darostwng ei gwlad, trwy wrthod duwiau eu tadau a'u teidiau; ac ymddengys ei bod yn tueddu i gredu felly yn fwy yn barhaus fel yr heneiddiai. Er gwneyd hyny yn waeth, daeth un o'i phrif gyngorwyr ati, a gofynodd am erfyn, mewn

trefn iddo roddi terfyn ar ei fywyd ei hun. Dywedodd wrth y Frenines fod y tramorwyr wedi iselu ei wlad, a duwiau yr Hovas, sef prif bobl y wlad, ac nad oedd arno eisiau byw i weled y wlad yn cael ei dyfetha yn y modd hwnw. Gwrandawodd y Frenines arno am haner awr heb ddweyd gair, ac wedi hyny tyngodd yn ei llid y byddai iddi roddi pen ar y grefydd newydd, hyd yn nod pe gorfodid hi i roddi pob Cristion yn y wlad i farwolaeth. Ar y 29ain o Chwefror, 1835, ysgrifenodd at yr holl Ffrancod a'r Saeson yn y ddinas, y caent hwy, os mynent, gredu eu crefydd eu hunain; ond nid oedd am adael ei deiliaid hi i newid y grefydd oeddynt wedi ei chredu er ys oesoedd, ac yn foddlon arni. Yna dywedodd, "Yr wyf yn rhoddi gorchymyn i chwi, nad oes neb o bobl Madagascar i gadw cyfarfodydd Cristionogol, na chael eu bedyddio, na dim arall sydd yn dal perthynas a'r grefydd newydd." Dydd Sabboth, Mawrth 1af, 1835, rhoddodd Ranavalona rybudd cyffredinol allan i'r holl ddinas, ac o flaen tyrfaoedd lluosog, drwy ei Phrif Weinidog, yr hwn oedd yn cael ei warchod gan bymtheng mil o filwyr. Cododd y Prif Weinidog ar ei draed i ddweyd gorchymyn y Frenines, yr hwn sydd yn rhy faith i'w gyhoeddi yma yn llawn. Dywedodd,

"Mai Ranavalona Manjaka oedd i lywodraethu Madagascar, ac nid tramorwyr. Nid oedd eisiau newid o ffordd a chrediniaeth eu hen deidiau, a'i bod hi yn credu'llyn y duwiau ag mae y tramorwyr yn ddweyd sydd ddiwerth, a phaham nad allwch chwithau 'gredu yr un peth? Nid wyf yn Frenines a ddywedodd gelwydd, cofiwch hyn, ac yr wyf yn dweyd, pwy bynag a gredo yn y grefydd newydd un mis i heddyw (cofiwch yr amser), bydd yn cael ei roddi i farwolaeth." Bu i hyn roddi dychryn mawr trwy yr amgylchoedd, gan fod Cristionogaeth erbyn hyn wedi cael gafael gref yn y bobl. Ataliwyd y deuddeg ysgol oedd gan y Cristionogion yn uniongyrchol, a bu rhan fawr o'r plant yn ymguddio yn anedd-dai y cenadon am amser. Aeth yn agos i ddwy flynedd heibio cyn i Ranavalona ferthyru neb, ond yr oedd megys wedi rhoddi ei throed ar wddf y grefydd newydd, a bu i'r oll o'r cenadon ymadael. Y diweddaf i fyned oedd David Johns, yn Gorphenaf, 1836; ac yna dechreuodd y Frenines gario allan ei bygythion mewn modd erchyll dros ben. Cariwyd llawer o honynt i fyny i ben craig erchyll, 150 o droedfeddi o uchder, a theflid y Cristionogion oddiarni i'r gwaelodion. Mae capel ardderchog wedi cael ei adeiladu er cof




MERTHYRDOD Y CRISTIONOGION BRODOROL.

am yr amser. Nid oes gwybodaeth gywir am nifer y rhai a ferthyrwyd yn y dull hwn; ond tybir mai tua phedwar ugain; tra yr oedd lluoedd wedi dyoddef poenydiau, heb eu rhoddi i farwolaeth.

Ar ol ymadawiad y cenadon, yn 1836, cafodd Madagascar lonydd hollol oddiwrth y cenadon a'r tramorwyr eraill am ugain mlynedd, oddigerth fod ambell i long hwyliau yn galw yn ei phorthladdoedd. Yn 1853, cafwyd llythyrau yn hysbysu fod pethau wedi tawelu yn y brif ddinas; a thalodd Mr. Ellis ymweliad yno yn 1856, a chafodd Ranavalona mewn tymer dda, a hyny, mae yn debyg, am fod Prydain wedi talu $15,000 iddi am ryw golled a ddygwyddodd iddi ddeng mlynedd yn flaenorol i hyny. Cafodd Mr. Ellis le i gredu nad oedd Cristionogaeth wedi darfod yno eto, a bod y Cristionogion yn cynal cyfarfodydd yn ddirgelaidd yn y coedwigoedd, ac mewn ogofeydd a manau o'r fath. Ond yr ydoedd Ranavalona yn rhoddi ar ddeall iddo ei bod yn benderfynol, ac o'r un ysbryd a phan ymadawodd y cenadon, ugain mlynedd yn flaenorol; felly nid oedd gobaith iddynt tra y byddai Ranavalona byw. Cyn iddi farw, yn 1861, enwodd ei mab i deyrnasu ar ei hol; ond yr oedd y penaethiaid wedi trefnu i'w

gefnder gael yr orsedd; ond methasant yn eu hamcan, a Rakatandiama, wedi'r cwbl, a'i cafodd, o dan y teitl o Radama II. Agorodd hyn obaith newydd i'r cenadon a'r Cristionogion brodorol; a dywedodd y Brenin yn y modd mwyaf cyhoeddus, ei fod am gadw y ffordd yn agored i'r Cristionogion, a rhoddodd wahoddiad cynes i'r cenadon ddychwelyd.

Yn fuan ar ol hyn dechreuodd y cenadon adeiladu capel ar y fan y cafodd y Cristionogion eu merthyru. Yn 1862, aeth Mr. Ellis, a chwech o genadon gydag ef, drachefn i Antananarivo, a chafodd bob peth yn ddymunol iawn; ond bu y Brenin newydd yn analluog i lywodraethu ei wlad, o herwydd fod ei fam wedi cadw oddiwrtho y wybodaeth angenrheidiol; er ei bod bob amser am iddo ei dylyn i'r orsedd. Ymddengys iddo ymgymysgu mewn cwmni ffol ac anmharchus, trwy yr hyn yr edrychid yn isel arno gan y pendefigion. Dechreuodd hefyd yfed a meddwi, a bernid oddiwrth ei ymddygiadau fod ei synwyr yn amharu. Rhoddodd rybudd allan yn gyhoeddus, yn dweyd, os byddai i drigolion unrhyw dref neu bentref fethu cydweled â'u gilydd, y byddai iddo eu gadael i gweryla neu ei hymladd allan, heb alw neb i gyfrif am eu gweithredoedd; ond yr oedd yn rhaid rhoddi

gwybodaeth iddo ef o'r cwbl. Fromodd y pendefigion yn enbyd; ond ni thalai Radama II. ddim sylw iddynt. Codwyd terfysg trwy y ddinas, a bu raid i'r Brenin gloi ei hun yn y palas rhag y terfysgwyr. Ar y 12fed o Fai, 1863, aeth nifer bychan o honynt i mewn trwy orthrech, a chymerasant afael yn y Brenin. "Peidiwch fy mriwo," meddai efe, "mae fy nghorff yn sanctaidd." "Nid ydym yn sicr o hyny," oedd yr ateb, "ond yr ydym yn sicr dy fod ti wedi dyfetha ein gwlad." Yr oedd ei wraig, sef y Frenines, yn bresenol, ac erfyniodd yn y modd mwyaf tosturiol am i'w fywyd gael ei arbed; ond i ddim dyben. Rhwymwyd rhaff am wddf y Brenin trallodus, a thaflwyd mantell ddu dros ei ben. Yn mhen ychydig fynydau symudwyd y fantell, a chafwyd fod Radama II. wedi huno yn yr angeu. Pan ddaeth y nos cariwyd ei gorff fel corff dyn tlawd, a chladdwyd ef mewn pentref bychan, chwe' milldir o'r brif ddinas, ac ar ei fedd adeiladwyd ty bychan. Ar ol hyn teyrnasodd y Frenines Rasoherina, sef gwraig y diweddar Radama II., ond ni ddygwyddodd dim neillduol dan ei theyrnasiad hi, a bu farw Ebrill, 1868. Cymerodd ei chwaer, yr hon a eilw ei hun yn Ranavalona II., ei lle, a gwnaethpwyd ei gwr yn Brif Weinidog.

Yr oedd y ddau hyn yn ffafriol i Gristionogaeth, ac yr oedd gobaith y byddai i'r grefydd newydd gael chwareu teg o hyny allan. Pan oedd y Frenines Ranavalona II. (sef yr hon sydd yn teyrnasu y pryd hwn), yn cael ei choroni i'w swydd, Medi 30, 1868, yr oedd yr esgynlawr o'i hamgylch yn llawn o arwyddeiriau tebyg i'r rhai a ganlyn: "Gogoniant i'r Tad," "Heddwch fyddo ar y ddaear," "Ewyllys da i'r bobl," "Yr Arglwydd fyddo gyda ni." Wrth ei hochr yr oedd y Beibl a chyfreithiau Madagascar. Yn mhen dau fis ar ol iddi gael ei choroni dechreuwyd addoli yn y palas breninol yn gyson, a rhoddwyd rhybudd allan, nad oedd gweithio i fod ar y Sabbothau, ac fod yn rhaid i'r marchnadoedd gael eu cynal ar ryw ddiwrnodau eraill, a bod gor phwyso cyffredinol i fod ar y Sabbothau ac ar wyl y Pasg.

Dydd Sul, Chwefror 21, 1869, bedyddiwyd y Frenines a'i gwr yn enw y Drindod sanctaidd, o flaen tyrfa fawr; ac yn mhen pum' mis ar ol hyn dechreuwyd gosod sylfaen i gapel ar ben y graig y taflwyd y dychweledigion oddiarni yn flaenorol, er cof am yr hyn a gymerodd le ynq, ac i ddangos llwyddiant yr efengyl. Hefyd llosgwyd y prif eilun yn gyhoeddus yn y pentref dirgel Ambohimanam-

bula, a danfonwyd swyddog i'w lusgo o'i hen safle, a'i ddwyn i'r pentref i'w ddangos i'r bobl, a gofynodd ar g'oedd, "Duw pwy ydyw hwn?" Atebodd un o'r dyrfa, "I'r Frenines y mae yn perthyn." Atebodd y swyddog, fod Ranavalona Manjaka yn dweyd nad oedd arni ei eisiau, a'i bod wedi rhoddi gorchymyn i'w losgi. Ar ol hyn llosgwyd y rhan fwyaf o'r eilunod trwy ganolbarth y wlad. Dywed rhai hanesion mai 20,000 o broffeswyr Cristionogaeth oedd y cwbl yn Madagasgar pan goronwyd y Frenines bresenol. Yn mhen naw mis ar ol hyny hawlid 37,000; a blwyddyn wedi hyny, 153,000. Yn mhen blwyddyn arall yr oedd wedi chwyddo i 231,000; ac yn 1875 yr oeddynt yn rhifo 300,000; a chredir fod y nifer yn myned yn fwy yn flynyddol. Modd bynag dyna yw y cyfrif diweddaf oddiwrth y cenadon. Ond pan oeddwn i ar ymweled â'r brif ddinas yn 1877, nid oedd yr achos yn ymddangos yn agos mor llwyddianus a thangnefeddus, ag yn yr amser oedd wedi myned heibio; a chyfaddefid hyn gan y cenadon eu hunain.

Gwir fod yno ugeiniau o gapelau—amryw o honynt gystal a'r goreuon a welir yn Nghymru—a phregethu parhaus, er hyny ychydig yw eu dylanwad ar y trigolion cyff-

redin a'r penaethiaid; ac yr oeddynt yn amddifad o unrhyw ddylanwad y pryd hwnw ar y Frenines a'r Prif Weinidog. Amser yn ol arferai cenadon alw ar y Frenines a'i theulu, fel cymydogion, eithr wedi iddynt dderbyn addysg gan y cenadon gwrthodant gyfeillachu a hwy mewn un modd. Ymddengys ddarfod i'r Frenines gael ar ddeall fod Brenines Lloegr uwchlaw pawb o'i deiliaid, ac yn cadw ar wahan oddiwrth bregethwyr a phobl gyffredin eraill; felly tybiodd fod ganddi hithau yr un hawl, ac ymwrthododd amser yn ol a chyfeillachu a'r Ewropeaid.

Gan yr Ewropeaid y gwnaed yr oll sydd wedi ei gyflawni hyd yma, a'u harian hwy sydd yn myned at adeiladu y capelau a chadw y cenadon. Hwy hefyd a dalasant am ddysgu y penaethiaid, a hyny heb gymaint a diolch am eu llafur. Llafuriodd y cenadon boreuaf yn galed i wneuthur daioni mewn amrywiol ffyrdd. Dysgasant y brodorion i blanu pytatws a thrin tir at eu cynaliaeth, yn nghyd ag i wneuthur dilladau o amryw fathau. Eithr hyd yn hyn nid oes nemawr o'u dylanwad i'w ganfod ond hyny a welir rhwng yno a Tamatave; o leiaf dyna fel yr hysbyswyd fi gan bersonau a ddylent wybod.

Mae y bryn ar yr hwn y saif y dref yn

ffurfio math o haner cylch, neu tua'r un lun a phedol ceffyl. Wrth ddringo i fyny ar hyd y prif lwybr, yr hwn sydd yn y parth gorllewinol o'r bryn, cyfarfyddir a chynifer o bobl a phe yn teithio ar hyd Broadway, New York, a'r unig ddilledyn a wisgir gan bron yr oll o honynt, yn ddynion a merched, yw *lambas*, sef dernyn o lian neu galico wedi ei daflu dros eu hysgwyddau, ac yn cyraedd at y llawr. Byddant yn cael *lambas* glân yn gyffredin ar ddydd Sul, a gwisga rhai o'r merched cyfoethocaf fath o *under skirt.* Y pryd hwnw bydd golwg lan a thrwsiadus iawn arnynt. Canfyddir llawer a wahanol liwiau, rhai can ddued a'r Negro, eraill ychydig gwynach, ac ambell un o'r Hovas, sef y llwyth lluosocaf yn y parthau hyny, bron mor wyn a'r Ewropeaid. Eithr ar y cyfan tebygant o ran eu lliw i'r Malays, a deil rhai haneswyr mai cangen o'r Malays ydynt. Yr Hovas ydynt y llwyth breninol; a chyfrifant eu hunain yn rhagori yn mhob modd ar y llwythau eraill. Llwybr creigiog a drwg sydd i fyned i ben y bryn lle mae palas y Frenines Ranavalona—mae capel y Frenines wedi ei doi a llechau a godwyd tua 50 milldir o Tananarivo, wedi cael eu gweithio gan y brodorion, a'u cario yno ar eu hysgwyddau. Ar y ffordd yr oeddwn yn pasio coleg ar-

dderchog bron a chael ei orphen. Sais oedd yn arolygu y gwaith ar yr adeilad hwn fel ar bob adeilad o werth yn y dref. Yr oedd coleg arall yn cael ei ddechreu ar yr ochr arall i'r bryn, ac adeiledir hwn, fel y gweddill, gydag arian tramorwyr a anfonir er dysgu y creaduriaid hyn yn erbyn eu hewyllys tra y mae mawr angen am danynt gartref.

Na ddealler fy mod yn awgrymu nad yw cymdeithasau cenadol o duedd ddaionus a gwerthfawr. Diau fod y cenadon wedi gwneyd llawer o ddaioni yn Madagascar, eithr yr oedd y gwaith mewn cyflwr mor annhrefnus yno yr amser hwn fel nas gallai nemawr fudd ddeilliaw o hono. Ac heblaw hyn dangosir gwrthwynebiad a diystyrwch cryf gan y mwyafrif o'r trigolion tuag at y cenadon. Yn y dref hono, er engraifft, mae y Frenines a phrif swyddogion y llywodraeth yn proffesu crefydd, ac o herwydd hyny gorfodir y deiliaid i fyned i'r capelau. Ystyrir myned i'r capel yn drafferth fawr ganddynt, chan y credir mai y cenadon ydynt yr achos o hono, edrychir arnynt gyda dygasedd gan y mwyafrif, yr hyn a bâr fod eu dylanwad yn lleihau yn lle cynyddu. Dichon nad oes neb o fewn yr ynys yn fwy llidiog wrth y cenadon a thramorwyr eraill na'r prif weinidog. Ymddengys mai po fwyaf

a wneir i'r bobl hyn a pho fwyaf o ddysgeidiaeth a gant, anhawddaf yn y byd yw gwneyd dim a hwy, a chyfaddefir hyn gan y cenadon.

Dywedir am y prif weinidog ei fod yn ddyn calon galed iawn. Efe a barodd i'r Brenin Radama II gael ei roddi i farwolaeth, a chadwodd frawd iddo ei hun, yr hwn oedd yn gallach dyn nag ef, ac yn meddu mwy o ddylanwad gyda'r wlad yn gyffredin, mewn cadwynau am ddeuddeg mlynedd, neu hyd ei farwolaeth, rhag y buasai iddo beryglu ei awdurod ef. Mae hanes bywyd dichellddrwg y dyn hwn yn ofnadwy, a theimla y deiliaid yn llidiog yn ei erbyn. Yr oedd sibrwd drwy y wlad ar y pryd hwnw fod chwyldroad yn debyg o gymeryd lle, a dywedid fod y prif weinidog yn crynu gan ddychryn. Yr oedd miloedd o ddynion yn barod er darostwng unrhyw wrthryfel a allai ddygwydd. Pedwar diwrnod o bob wythnos gellid gweled canoedd o ddynion yn mhob cyfeiriad yn cael eu haddysgu a'u hymarfer yn y gelfyddyd filwrol dan arolygiaeth Sais a Ffrancwr i'r rhai y telir cyflogau mawrion. Cedwid gwyliadwriaeth fanol hefyd dros y dref yn ystod y nos. Ni byddai yn un syndod po dygwyddai terfysg, cyffelyb i'r un a gymerodd le yno un-mlynedd-ar-ddeg yn flaenorol, pryd y lladdwyd canoedd

o'r brodorion. Coleddir ofnau cyffelyb gan y cenadon, er y credant nad oedd eu bywydau hwy mewn perygl, am fod personau o'r ddwy ochr wedi addaw na chyffyrddir a hwy mwy na'r tro o'r blaen.

Ar yr ochr orllewinol i'r palas breninol, mae dibyn anferth—y graig yn disgyn i lawr yn unionsyth i ddyfnder mawr—dros yr hwn y taflwyd canoedd o Gristionogion yn yr amser aeth heibio, fel y nodwyd. Yn y gwaelod, islaw, mae ychydig o wastadedd, yr hwn a ddefnyddir i arolygu y milwyr. I'r gogledd oddiyno mae llyn bychan ac ynys fechan yn ei ganol, lle y mae ty dirgel y Frenines, oddimewn i'r hwn nid oes ond y hi ei hunan i sangu. Mae ganddynt yr un modd mewn gwahanol fanau o'r ynys, saith o bentrefi na oeddefir i un Ewropead fyned i mewn iddynt. Ychydig i'r de o'r palas, mae palasdy yr hen Frenines. Yn mhellach i'r un cyfeiriad, mae gwastadedd yn llawn o reis, yn ymestyn am filldiroedd lawer. O fewn pedair neu bum milldir i'r dref, mewn gwahanol gyfeiriadau, gwelir amryw fan-bentrefi, a dywedir fod poblogaeth y dref a'r pentrefi o fewn y pellder uchod, yn rhifo tua 150,000. Hawlia Tananarivo ei hun 80,000, a chynydda y boblogaeth yn barhaus. Wrth edrych ar y dref o ben y

bryn, mae yr olwg arni yn dra thebyg i eiddo dinasoedd mewn gwlad wareiddiedig; eithr collir y syniad hwn pan eir i dramwy ar hyd y llwybrau culion ac anwastad a wasanaethant yn lle heolydd.

Cedwir y marchnadoedd yn agored bob dydd o'r wythnos, ond dydd Gwener yw y prif ddiwrnod. Un dydd Gwener, gwelais am y tro cyntaf erioed, gaethion yn cael eu prynu a'u gwerthu. Aeth rhai merched mor uchel a $175, eithr gwerthai dynion yn y cyffredin am $75. Ni thrinir y caethion yn galed yno ond i'r gwrthwyneb; maent yn cael pob peth fel perchenogion. Y nwyddau a werthent gyflymaf oeddynt calicos Americanaidd a Seisnig, o'r rhai y gwneir y *lambas.* Mae y brodorion fel y Chineaid yn hynod am eu gallu i ddysgu unrhyw orchwyl, ac efelychu pob peth a welant. Gwnaeth un o honynt awrlais da, a gwnant esgidiau, hetiau a dilladau o bob math i'r Ewropeaid, mor olygus a dim a geir mewn un wlad. Y mae esgidiau a hetiau yn hynod rad yno; ceir par o esgidiau da am ddolar, a het debyg i'r *Panamas* am swllt. Maent hefyd yn gwneyd *lambas* a phethau eraill o sidan, yn wahanol liwiau, a rhai o honynt o wneuthuriad rhagorol. Ond mae prisiau y sidan yn bur uchel o'i gydmaru

a phethau eraill; gwerthir rhai *lambas* i Ewropeaid am gymaint a haner can' dolar yr un. Maent yn gwneyd offerynau cerdd tra pheraidd hefyd. Mae pob math o fwydydd yn rhad. Wele brisiau ychydig bethau: Twrcis goreu, chwe' cheiniog yr un; dofednod, dwy geiniog yr un; wyau, dwy geiniog y dwsin; ac mae llaeth a phytatws, a phethau eraill yn hynod rad. Gwertha reis yn Tamatave ar ol ei gludo o'r brif ddinas, am $1.35, am 108 pwys; a chyfrifir reis Madagascar o'r fath oreu. Yr unig bethau ydynt dipyn yn ddrud yno yw, blawd a nwyddau eraill a a atgludir o Ewrop. Nid oes lle, modd bynag, i gwyno yn nghylch prisiau unrhyw nwyddau.

Mae y Malagazi yn hynod ofalus gyda eu bargeinion masnachol; siaradant am oriau am werth sent. Ofnant yn fawr gael eu twyllo yn y mesur lleiaf. Cefais i brofiad o hyn wrth geisio gwerthu ychydig o ddiamonds i'r Frenines, at eu rhoddi mewn coron newydd oedd yn cael ei gwneyd iddi; ac ar ol wyth diwrnod o fargeinio, trwy i genad redeg yn ol a blaen, y llwyddais i werthu ychydig iddi am bris da. Os cymer y penaethiaid ffansi at unrhyw beth, mynant ei gael os bydd o fewn eu gallu. Telir sylw manwl i wisgoedd pob

tramorwr a ddaw i'r lle, ac ond odid na cheisir eu hefelychu, drwy wneyd rhai yr un fath. Un diwrnod, cyfarfyddais ar y ffordd a hen ddyn, yr hwn a'm cyfarchodd yn Seisnig. Gwisgai fel Ewropead, a deallais yn fuan ei fod wedi derbyn dysgeidiaeth dda. Dywedai mai efe oedd yn cyfieithu y Llyfr Gweddi Cyffredin i'r Frenines, a'i fod bron a gorphen y gwaith; mai Mr. Jones, y cenadwr Cymreig, a roddasai ei ddysgeidiaeth foreuol iddo, a'i fod i raddau yn hyddysg o hanes crefydd yn Nghymru. Ond ar ganol yr ymddyddan gofynodd yn sydyn pa faint a gymerwn am yr het oedd genyf am fy mhen, sef math o *helmet hat.* Gwerthais hi iddo am yr un bris ag a roddaswn am dani yn Port Natal, ac aeth yntau tuag adref yn llawen. Canfyddir rhyw blentynrwydd o'r fath yn gyffredin iawn yn eu plith.

Er fod y fan hon yn mhell yn y trofanau yr oedd yn un o'r lleoedd oeraf y bum' ynddo er ys amser. Mae gwisgoedd llian fel a wisgir gan Ewropeaid yn Tamatave, yn hollol annefnyddiol ar yr adeg hono yn Tananarivo. Dylid cofio, modd bynag, mai dechreu gauaf ydoedd, a diau, fel yr hysbyswyd fi, fod tywydd poeth iawn yn ystod yr haf. Ond ar y cyfan, o herwydd uchder y tir yn y canolbarth, mae yn

llawer oerach yno nag ar yr arfordir; ac o herwydd hyny mae y lle hwnw allan o gyraedd y *fever*, er y dywedir fod y frech wen i raddau mwy neu lai yn barhaus yn y dref. A chymeryd pobpeth i ysyriaeth, modd bynag, ni ewyllysiwn well hinsawdd nag sydd yno. Mae y brif-ddinas yn wahanol iawn i Tamatave gyda golwg ar feddwdod. Un o orchymynion pendant y Frenines yw, nad oes un dyferyn o ddiodydd meddwol i gael ei werthu i'r brodorion. A chwareu teg iddi mae wedi gwneyd ei goreu i atal dygiad unrhyw fath o ddiodydd meddwol i'r wlad; eithr nis gallai lwyddo yn hyny gan fod y *treaty* diweddaf yn ei herbyn. Ceir y Mauritius a'r Bourbon *rum* mor rad yn Tamatave, fel nad oes odid un o fwthynod y Malagazi heb fariliaid o hono. Gwerthir potelau hefyd, yn cynwys tri haner peint, am bedair neu bum' ceiniog, a'r canlyniad yw, pan gâ y brodorion yno ychydig arian ant ar spri, fel nas gellir ymddibynu arnynt i wneyd dim gwaith. Gan hyny byddai yn fendith fawr i'r arfordir dwyreiniol pe gallai y Frenines gael ei hamcan i ben, a gwyn fyd na byddai i lywodraethau eraill efelychu Brenines Madagascar yn hyn.

Tra yn y ddinas, cefais y fraint o gyfarfod a Mr. Street, cenadwr o Dalaeth Ohio, a bu

Mr. Dawson a minau yn ciniawa gydag ef. Prif orchwyl Mr. Street er pan y daethai yno ddeng mlynedd yn ol, oedd parotoi geiriadur cyflawn o'r iaith, ac yn mhen ychydig fisoedd dywedai y byddai wedi ei orphen, ac yna bwriadai ddychwelyd i wlad ei enedigaeth. Ymddengys ei fod wedi teithio cryn lawer yn yr ynys, yn enwedig yn y rhan ddeheuol. Dywedai fod y wlad yn llawn o olygfeydd rhyfeddol, a chanfyddodd afonydd a rhaiadrau anferthol ynddi. Yn ei deithiau, talodd sylw manwl i ansawdd ddaearegol y wlad. Dywedai iddo ganfod *gold bearing quartz* mewn amryw fanau, a chafodd amryw *nuggets* o gryn faintioli, ar lanau rhai o'r afonydd. Ei gred ef oedd fod cyflawnder mawr o fwnau o bob math yn yr ynys; eithr ni chaniateir rhoddi caib yn y ddaear er eu cloddio.

Tystia Mr. Street nad oedd Tananarivo yn lle i ddynion gwrol, didderbyn-wyneb, a phur o galon, siarad eu meddyliau allan, gan y byddant bron yn sicr o dynu gwg y Prif Weinidog, yr hwn a enfyn gwyn yn eu herbyn at y gymdeithas. Er engraifft, mae Mr. Street, Mr. James Sibree, ac amryw eraill o'r cenadon mwyaf dysgedig ac ymroddgar yno yn cael eu galw adref, am na chydsyniant a'r Prif Weinidog yn ei weithrediadau; eithr dywedid eu

bod yn ceisio ei ddarbwyllo i ymddwyn yn onest a theg. Amser yn ol, arferai y cynulleidfaoedd yn mhob lle, godi a myned allan pan ddechreuai Mr. Sibree bregethu iddynt, a gwnaent hyny yn gwbl oddiar orchymyn y Prif Weinidog. Yr oedd efe wedi llafurio yn onest a diorphwys yno am y pymtheg mlynedd, a hawdd dychymygu mai nid dymunol oedd ei deimlad ef ac eraill cyffelyb, wrth gael eu galw adref pan mae rhyw newyddiaid dibrofiad, a'r rhai nas gwaeth ganddynt pa un a wnant ddaioni ai peidio, cyhyd ag y byddant ar delerau cyfeillgar a'r Prif Weinidog, yn cael eu cadw yno gyda chyflog o £200 yn y flwyddyn, a'u treuliau yn nghyd a $12 yn flynyddol, ar gyfer pob plentyn, a gedwir ganddynt, a'r rhai hyn yn gyffredin yn dra yn lluosog. Ymgymerodd Mr. Sibree ac eraill, dro yn ol, a chyhoeddi papyr darluniadol, a buont yn llwyddianus, nes yr ymddangosodd rhyw beth ynddo heb fod yn unol ag ewyllys y Prif Weinidog, ac ataliwyd y papyr yn uniongyrchol.

Fel yna mae y Prif Weinidog yn rhoddi ei droed ar wddf pob peth, os na fydd yn hollol yn cyd-ddwyn â'i feddyliau culion ef ar bob peth.

Gadawaf y pynciau hyn i barotoi am daith

tua'r arfordir gorllewinol. Yr oedd cyfeillion yn dweyd mai rhyfyg fyddai i ddyn dyeithr fel myfi ymgymeryd a'r fath daith.

Cychwynais o Tananarivo ar y 16eg o Fai, a phedwar o gludwyr, neu *mormidas*, fel eu gelwir, gyda mi. Mae y pellder yn llawn 300 milltir, yr hyn a deithiasom mewn llai nag ugain o ddyddiau. Yr oeddwn am gerdded y daith hon yn hytrach na chael fy nghludo mewn *filinzan*, fel o Tamatave i'r brif ddinas, gan ei bod yn llawer rhatach, ac hefyd yn fwy manteisiol i minau, gan y bwriadwn pan yn cychwyn dreulio o leiaf ddau fis ar y ffordd i gasglu hynodion, megys gwahanol fathau o fwnau, &c.; ond bu raid i mi newid fy nghynllun. Pe cymeraswn *filanzan*, buasai raid i mi gael o leiaf ddeuddeg o'r *mormidas*, yr hyn am ffordd mor bell a gostiasai i mi tuag ugain punt. Nid oedd hanes ond am bump o Ewropiaid wedi teithio o Tananarivo i Majanga. Yr oedd yr holl rai hyny yn bersonau cyfoethog, a chanddynt gyflawnder o bob peth ar gyfer y daith, ac o driugain i gant o ganlynwyr. Yr oll oedd genyf fi tuag at amddiffyn fy hun ydoedd gwn dau-faril a chleddyf bychan, a chariai y *mormidas* waewffyn.

## PENNOD VIII.

*Ymadael o Tananarivo—Myned trwy y meusydd reis—Pentrefi hynod—Galw gyda T. T. Matthews, y cenadwr—Helynt gyda Llywodraethwyr—Iachau y cleifion—Cyfarfod a gelynion—Yn chwilio am aur—Cael fy anfon o'r wlad—Peryglon y daith—Llygod rhyfedd—Cael y clefyd—Croesaw gan Brif Lywodraethwr y Gorllewinbarth — Glanio yn Majanga—Cael derbyniad croesawgar gan y Trafnoddydd Ffrengig a Madam Baker, &c., &c.*

Yr oedd y Prif Weinidog yn ddrwg-dybus o bob tramorwr a ddeuai i'r lle, a chan nad oeddwn i wedi dod yno i fasnachu nac fel cenadwr, cafodd dipyn o drafferth i gael allan beth oedd fy nyben yn y wlad. O'r diwedd rhoddodd Mr. Dawson ar ddeall i un o'r swyddogion fy mod yn deall pa fodd i saethu y creigiau, a gwneyd llechau llawer gwell na'r rhai oedd ar ben ei gapel ef. Dywedodd hefyd fy mod yn deall adeiladu a gwneyd ffyrdd, &c. Yn mhen ychydig amser daeth cenad ataf i fy hysbysu y byddai i'r Prif Weinidog roddi swydd i mi os dewiswn aros, am haner can' dolar yn y mis, yn nghyda phedwar o ddynion i gario y *filanzan;* eithr ni thelais un

sylw i'r cynygiad, a'r diwrnod canlynol yr oedd fy *mormidas* wedi gwneyd fy mhaciau yn barod. Gwel ddarlun dau o honynt ar y tu dalen nesaf.

Cefais gwmni Mri. Dawson a Roberts am y deg milltir cyntaf; ac am y pellder hwnw cefais fy nghario yn y *filanzan* trwy ganol meusydd y reis, ac aeth yr amser heibio yn ddifyr; ond bu raid ffarwelio â chyfeillion oedd wedi bod yn dra charedig wrthyf.

Yr oedd y llwybr yn dda am yr oriau cyntaf, ond daethom i le dyfrllyd, a bu raid i'r cogydd fy nghario ar ei ysgwyddau mewn un amgylchiad am tua haner awr. Cyn hir daethom i lanerch bryniog, lle yr oedd y llwybr yn anarferol o dda. Ni welsom ddim neillduol y diwrnod cyntaf; yr oedd pentrefi bychain yn lled aml, ond y wlad yn llwm iawn o goed, a phob peth oddieithr reis. Erbyn pump o'r gloch y prydnawn cyraeddasom bentref mwy na'r cyffredin, a'r hwn, yn wahanol i'r rhai a welais yn flaenorol, oedd wedi ei amgylchu a muriau uchel, gyda phorth cyfyng i fyned i mewn iddo. Wedi myned heibio y mur hwn, cawsom fod un arall ar ein ffordd cyn cyraedd y pentref, ond o'r diwedd cyraeddasom y *Queen's House*, sef ty a gedwir gan y Llywodraeth er hwylusdod i deithwyr. Ceir un o

honynt yn mhob pentref o bwys drwy Madagascar. Cefais fod y ty yn weddol lân, a math o wely mewn un gongl. Fel rheol, modd bynag, mae eynifer o'r brodorion budron yn aros yn y tai hyn, fel na bydd Ewropiaid yn fynych yn aros ynddynt.

Dranoeth teithiasom yn mlaen drwy wlad led debyg i'r diwrnod cyntaf, ond fod y boblogaeth yn lleihau yn gyflym, a'r pentrefi yn fwy anaml. Nid oedd coed nac adar i'w canfod, eithr llwyddais i ddal amryw o *butterflies* prydferth. Yr oedd digonedd o ddyfroedd grisialaidd yn yr amgylchoedd hyn, fel yn mhob man y bum yn Madagascar. Yn gynar yn y prydnawn cyraeddasom bentref lle y gwasanaethai y Parch. T. T. Matthews. Efe yw y cenadwr pellaf i'r gorllewin o Tananarivo, ac nid oedd gobaith i mi gael gweled un Ewropiad arall nes cyraedd Majanga. Felly gelwais yn ei dy, yr hwn oedd ar fryn bychan tu allan i'r pentref; ond yn anffodus aethym yno ar adeg led anfanteisiol, gan fod Mrs. Matthews yn lled wael ei hiechyd.

Yr oeddwn ar fedr prysuro yn mlaen, pan anfonodd Mr. Matthews am i mi aros yno dros ychydig, yr hyn a wnaethym. Cefais bob croesaw ganddo; ac oddiwrth yr ychydig a gefais o'i gymdeithas, tybiwyf ei fod yn ddyn

rhagorol. Wedi gadael y lle hwn daethym i wlad fwy bryniog, lle y gwelais nifer o adar tlysion, amryw o'r rhai a gedwais er cael eu llenwi, i ddangos mewn gwydr, a gwerthais hwy a'r *butterflies* heb drafferth, am bris da, yn Port Elizabeth, Affrica. Yr unig greadur gwyllt y dygwyddais ei weled yn Madagascar ydoedd math o fwnci, yn y goedwig rhwng Tamatave a Tananarivo. Enw Madagascar gan y brodorion yw Nosindambo, hyny yw, Ynys y Moch Gwylltion; ond nid wyf yn deall fod hanes am neb wedi gweled y creaduriaid hyny yno. Gwelais rai nadroedd, ond dim un o honynt dros ddwy droedfedd o hyd, ac hefyd geneu-goegiaid (*lizards*) tua throedfedd o hyd; eithr dywedir nad oes un o honynt yn wenwynig, ac ni bydd y brodorion yn meddwl am eu lladd.

Yr oeddym yn gallu cyraedd rhyw bentref erbyn pob nos, ac mor fuan ag yr elem tu mewn i'r porth, dyna lle byddai y trigolion yn llygad-rythu ac yn tyru ar draws eu gilydd i'r ty lle byddem yn aros. Nid oedd un dyben ceisio ganddynt fyned allan, eithr parhaent i wylio pod symudiad o'r eiddof. Yr oedd rhai o honynt bron yn noethion, a golwg fudr ac angenus arnynt. Y seithfed dydd daethom i Appudic, pentref mawr yn meddu llywod-

raethwr, ac yn cynwys amryw ganoedd o drigolion. Gwylid y porth yn y lle hwn gan bedwar o filwyr, y rhai ni adawent i mi fyned i mewn nes i'r llywodraethwr gael ei hysbysu o fy amcan, ac anfon ei ganiatad. Bu cenad yn rhedeg yn ol a blaen am dros awr, cyn y cawsom dderbyniad. O'r diwedd tynwyd y barau, a dangosodd y milwyr i ni y ty lle yr oeddym i aros; ond cyn cael hamdden i gymeryd llymaid o ddwfr, daeth cenad oddiwrth y llywodraethwr yn gorchymyn i mi ddyfod i'w weled yn ddioed; felly cyfeiriais fy nghamrau tuag yno, yn cael fy nylyn gan dyrfaoedd lluosog, a dau neu dri o dabyrddau yn curo. Gorfu i mi aros am ychydig amser cyn cael myned i mewn i'r cysegr, ond o'r diwedd gollyngwyd fi i mewn, a Faralaly, y cogydd, yn fy nylyn i weithredu fel cyfieithydd, gan ei fod yn gallu fy neall yn well na neb arall.

Yr oedd y ty yn llawn o bobl yn eistedd ar y llawr, a'r llywodraethwr mewn gwisg wen, fel person, yn eistedd ar gadair yn nghwr pellaf yr ystafell. Gwnaethym foes-gyfarchiad mor foneddigaidd ag y gallwn, a gwnaeth yntau yr un modd, gan godi a rhoddi y gadair i mi, ac eistedd ar y llawr ei hunan. Arwyddais y byddai i Faralaly ateb ei gwestiynau yn fy lle, a dechreuodd yr holi yn ddioed, ac am

a wn i na buasai yn parhau hyd yn hyn pe gadawswn iddo. Yr oedd y ty mor boeth fel nas gallwn aros yno yn hwy, a chodais, gan ddweyd fod arnaf eisiau bwyd, a gwahoddais y Llywodraethwr i ddyfod gyda mi i gael coffi. Cydsyniodd yntau; ac wedi cyraedd y ty rhoddais ychydig o ddwfr a *lemon syrup* iddo, yr hwn a hoffodd yn fawr, gan ofyn fel plentyn am ychwaneg; yr un modd gyda'r coffi. Ymddengys na welsai ond un dyn gwyn erioed o'r blaen, sef Dr. Mullins, gan y cymerasai yr Ewropiaid eraill lwybr gwahanol. Synai yn fawr at bobpeth a ddangoswn iddo. Ni welsai ganwyll erioed o'r blaen; a phan roddais *musical album* mewn gwaith, rhyfeddodd yn aruthr. Nis gallwn gael ganddo fyned adref, er mwyn i mi gael cysgu, er i mi roddi awgrym iddo amryw weithiau. O'r diwedd parotodd Faralaly fy ngwely, ac aethym inau i orwedd, pryd yr aeth ef a'r rhan fwyaf ymaith. Ond er fy mod yn teimlo yn lluddedig, yr oedd cymaint o fwstwr yn y ty hyd tua dau o'r gloch yn y boreu, fel nas gallwn gysgu dim; a'r amser hwnw cefais drafferth fawr eu gyru allan, er mwyn cael tawelwch. Penderfynais na byddai i mi wneyd cymaint â'r llywodraethwr ar ol hyn.

Parotoisom i gychwyn yn foreu dranoeth,

ond yr oedd y Llywodraethwr ar law eisiau cael ychwaneg o *lemon syrup*, a rhoddais ychydig iddo mewn phiol fechan, yr hyn a'i llawenychodd yn fawr. Yr oedd un o'r merched mwyaf golygus yn y ty yn crynu, yr hyn a arwyddai ei bod ar gael *fever*, a rhoddais iddi ychydig *quinine*, gan ddweyd y gwnai les iddi.

Yn mhen ychydig fynydau cynyrchwyd dadwrdd mawr drwy yr holl bentref, gan i'r gair fyned allan fy mod yn gwella clefydau, rhoddi llygaid i ddeillion, &c. Parodd hyn i dyrfa fawr o ferched a dynion ymgasglu at y ty, er dangos eu gwahanol glwyfau; a'r merched, heb unrhyw gywilydd, yn taflu ymaith eu *lambas*, sef eu hunig ddilledyn. Ni welais y fath olygfa erioed o'r blaen, a hyderaf na welaf ei chyffelyb eto. Dangosai yn eglur i mi beth oedd y canlyniad o fudreddi a chamdriniaeth o afiechyd. Yr oeddwn yn falch o gael yr ochr allan i gaerau y dref hono; a bum am amser cyn y gallwn gael yr olygfa a welais yno oddiar fy meddwl.

Ar y cyfan budron iawn oedd y brodorion trwy yr holl amgylchoedd, a llawer iawn o honynt yn cario golwg ddilewyrch, fel pe na byddai dyferyn o ddwfr i'w gael yn y wlad; a rhaid mai diffyg glanweithdra corfforol oedd y prif achos o afiechyd echrydus yr amgylchoedd.

I fyny hyd yr wythfed dydd wedi gadael Tananarivo nid oedd ond ychydig o gyfnewidiad i'w weled yn y wlad. Nid oedd coed yn ganfyddadwy, nac ychwaith un math o fwystfilod neu adar neillduol, er rhoddi mantais i ni ymbleseru gyda'n gynau. Ond yr oedd yn amlwg fod mwnau o wahanol fathau i'w cael trwy yr holl amgylchoedd, a daethym i le yr oedd *quartz* i'w ganfod ar bob llaw; torais lawer o dalpiau o hono, ac yr oedd aur i'w weled ynddynt yn amlwg â'r llygaid noeth. Gan mai morthwyl bychan a arferai fod genyf yn toi â llechau, oedd yr unig erfyn a feddwn i'r pwrpas, ni chefais y fantais angenrheidiol i roddi y prawf ddymunwn ar y lle; ond yr oedd genyf gymaint o *quartz* ag a allai un o'r dynion ei gario gyda'r paciau eraill, yr hwn a gymerais i Mozambique, lle y rhoddwyd prawf ar y cwbl gan ddynion profiadol, ac a'i cafwyd yn anarferol o gyfoethog mewn aur—rhai talpiau tu hwnt i ddim o'r fath a welwyd ganddynt o'r blaen. Cododd hyn a phethau eraill awydd mawr ynddynt i weled y wlad a'r lle y cafwyd hwynt. Ond i ddod yn ol at y pwnc: ar ol cerdded tipyn yn mlaen daethym i waelodion lle yr oedd afonig fechan risialaidd yn ymlwybro yn brydferth, yr hon oedd yn dangos arwyddion sicr o aur. Gor-

fodais fy nghanlynwyr i roddi eu paciau i lawr er fy nghynorthwyo i roddi prawf ar y lle o ddifrif. Yr oedd yn fy meddiant *wash-dish* mawr a rhaw fechan, a gwnaethym y goreu o'r morthwyl toi i geibio y ddaear; ac er fod fy nghanlynwyr yn gweithio yn erbyn eu hewyllys, eto gwnaethant eu goreu; ac yr oeddym yn cael aur yn mhob golchiad. Cefais un *nugget* yn pwyso un ran o chwech o owns, yr hyn a brofai na chymerai lawer o amser i wneyd ffortiwn yno. Ond yr oeddym yn gwybod fod y newydd hwn am danom wedi cyraedd y llywodraethwr, yr hwn oedd yn byw mewn pentref mawr tua dwy filltir o'r lle; a thrwy fod y brodorion a'm canlynodd yn gwybod, fel fy hunan, ein bod yn tori cyfreithiau y wlad, bu i ni anesmwytho rhag ofn y gwaethaf. Yr oeddwn yn gwybod mai yr unig gosp am hyn oedd cael fy alltudio o'r ynys; dyna oedd y *treaty* diweddaf rhwng gwledydd Ewrop a Madagasgar; a chan fy mod ar y ffordd allan o honi ar y pryd, meddyliais na fuasai hyny yn gosp yn y byd i mi. Ond modd bynag prysurasom yn mlaen i'r pentref, lle yr oeddwn am geisio gwneyd amodau, os gallwn, â'r llywodraethwr, i gael myned yn ol at yr afon.

Erbyn cyraedd y dref, yr oedd y porth cyf-

yng wedi ei gau, fel arfer; ond llwyddais i fyned i mewn heb gymaint o drafferth ag mewn manau eraill yn flaenorol. Eithr yr oedd y bobl wedi ymgasglu mor lluosog i gael golwg arnom, fel y cawsom drafferth fawr i fyned trwyddynt. Yr oedd yr holl dref wedi pentyru ar y llwybr, ac yn rhythu arnom. Y peth cyntaf oedd myned i weled y llywodraethwr, ar yr hwn yr oedd golwg mwy hawddgar na'r cyffredin o honynt. Ni chrybwyllodd air am fy ngwaith yn chwilio am aur, ac, fel llywodraethwr Appudic, daeth yntau gyda mi er cael gweled y pethau oedd ryfedd iddo, a gwnaethym yr oll a allwn i'w foddloni ef. Eithr ar yr aur yr oedd fy holl feddwl yn barhaus; a phe buaswn yn gallu siarad yr iaith yn ddealladwy, buaswn wedi amcanu gwneyd rhyw fath o amodau â'r llywodraethwr i gael myned yn ol at yr afon; ond aethym i orwedd y noson hono heb son gair am hyny. Ond methais a chysgu, gan faint fy helbul yn nghylch dyfeisio y cynllun goreu mewn perthynas i'r aur.

Ar doriad y wawr dranoeth daeth Faralaly y cogydd ataf i'm hysbysu fod y llywodraethwr yn darparu i anfon milwyr i'n gyru yn mlaen y diwrnod hwnw. Codais yn uniongyrchol, gan dybio fod y llywodraethwr wedi

dod i wybod pob peth yn nghylch yr aur, a'i fod yn cymeryd y dull hwn i'n danfon yn mlaen. Aethym at y llywodraethwr, a dywedais wrtho nad oedd arnaf brysurdeb am fyned yn mlaen. Galwodd ar Faralaly i gyfieithu rhyngom; a dywedodd y llywodraethwr fod y wlad yr oeddym i fyned trwyddi yn llawn o anwariaid drwg, ac yn elynion mawr i'm canlynwyr, heblaw i ddynion gwynion; ac i'm gwarchod rhag y rhai hyn yr oedd yn anfon pedwar o filwyr gyda ni trwy y wlad hono; a dywedodd fod yn ofynol i ni gychwyn yn ddioed, cyn y byddai i ryw dylwyth o bobl ddrwg gychwyn i ryw fath o ffair oedd i fod yn un o'r pentrefi yr oeddym i fyned trwyddo. Pa un ai fy mywyd ai ynte yr aur, oedd yr achos o'r holl bethau hyn, nid oeddwn sicr ar y pryd; ond yr oeddwn yn gweled na buasai yn ddoethineb gwingo yn erbyn myned yn mlaen, a gadael yr aur a phobpeth. Yr oedd y llywodraethwr yn siarad yn dyner a phwyllog, ac yr oedd wedi bod yn Tananarivo ei hunan yn moreu ei oes. Hefyd yr oedd yno ryw fath o bregethwr, a dwy ddynes, yn gallu darllen ac ysgrifenu tipyn yn eu hiaith eu hunain, a gwnaeth y llywodraethwr i'r rhai hyn ysgrifenu nodyn ar bapyr oedd genyf, yr hwn yr oeddwn i'w roddi i lywodraethwr y pen-

tref agosaf. Felly gadewais bawb yn y pentref mawr hwnw yn gyfeillgar. Daeth y llywodraethwr ei hun i'm hanfon am tua dwy filltir. Ar ei gychwyniad yn ol rhoddais ddolar iddo ef a'i ddau ganlynwyr a aethant yn ol gydag ef, yr hyn a wnaeth iddynt wenu a diolch, ac ewyllysio yn dda, &c.

Yr oedd ein nifer ar ol hyn yn ddeg, sef y pedwar milwr, a dynes, yr hon oedd hefyd yn cario gwaewffyn, fy hunan a'r gweision. Yr oedd fy meddwl eto yn aros yn ol o amgylch yr aur. Er fy mod yn credu mai anfon y milwyr i'm cadw rhag gwneyd gwaith cyffelyb yr oedd, eto yr oeddwn yn credu y buasai modd prynu y llywodraethwr i fod o fy nhu; ond yr oeddwn yn gweled y byddai iddo yntau drwy hyny beryglu ei hunan; felly boddlonais i fyned yn mlaen. Pan y gwelwn rywbeth i dynu fy sylw, cymerwn fy amser, fel o'r blaen, a boddlonai y milwyr i bob peth, heb ddywedyd gair yn groes; ond yn aml rhedent yn mlaen i benau y bryniau er cael golwg yn mlaen, rhag ofn y byddai rhyw berygl o'n blaen, neu ddynion drwg yn ymguddio ar ochr y llwybr. Cyraeddasom y pentref nesaf erbyn pedwar o'r gloch y prydnawn, ac anfonais y nodyn i'r llywodraethwr. Yn mhen rhai oriau, modd bynag, cefais nad oedd wedi agor

y llythyr, gan nas gwyddai pa beth i'w wneyd a'r amlen a roddaswn am dano. Cymerais ef ganddo ac agorais ef, ond nis gallai y llywodraethwr na neb arall yn y dref ei ddarllen, felly ceisiais wneyd hyny fy hunan, a llwyddais i swnio rhai geiriau yn ddealladwy iddo. Beth bynag, cefais orchymyn i gario y nodyn i'r llywodraethwr nesaf, a pharheais i'w gludo yn y modd hwn am bedwar diwrnod, o herwydd nad oedd neb yn gallu ei ddarllen. Yr oeddwn yn cael gosgordd o bedwar milwr o'r naill bentref i'r llall, nes y daethom i gwr diffaethwch, neu "*No-man's-land*," fel y geilw y brodorion ef, pryd y cawsom chwe' milwr. Cymerai i ni dri diwrnod i groesi y diffaethwch, yn ystod y rhai nid oedd gobaith i ni weled tref na thy, felly cymerasom ddiwrnod o orphwysdra i barotoi gogyfer a'r daith.

Mae rhandir yr Hovas yn terfynu ar gwr y diffaethwch hwn, ac eiddo y Sakalavas yn dechreu ar y tu arall iddo. Ni ddaw y rhai diweddaf un amser i wlad yr Hovas heb fod yn finteioedd lluosog, ac felly mae y ddau lwyth yn dra gelynol i'w gilydd. Yr ydoedd ar fy *mormidas* gymaint o ofn croesi y parth hwn fel nas gallwn eu darbwyllo i fyned yn mlaen nes cael gan y llywodraethwr anfon wyth milwr gyda ni. Yr oedd y wlad ar y cyntaf yn

fryniog, ac yn cael ei dyfrhau yn rheolaidd, ond yn fuan daethom i fan lle yr oedd math o wybed duon, tebyg i *mosquitoes*, mor lluosog a blinderus fel y buasai ychydig ddyddiau yn eu plith yn ddigon i boeni dyn i farwolaeth. Wedi pedair awr o gerdded a rhedeg caled daethom allan o'u cyraedd. Yr oeddym wedi gorchuddio ein gwynebau, ac heblaw hyny yn gorfod curo ein hunain yn barhaus â *bushes*; felly yr oeddym wedi rhedeg ein hunain yn hollol allan o wynt, pan y cyraeddasom lan afon risialaidd, yn yr hon yr ymdrochais, a chysgais y noson hono ar gareg fawr yn nghanol yr afon. Dranoeth teithiem eto i wlad oedd yn llawn o wahanol fwnau, o'r rhai hefyd y cedwais amryw bwysi, er eu profi pan ddeuwn i ryw le gwareiddiedig; ac yr wyf wedi cael lle i gredu fod amser yn aros y parthau hyny o Madagascar pan y bydd yn rhyfeddol yn yr ystyr fwnawl. Ond nid oedd un math o helwriaeth i'w ganfod yn unlle, nac aderyn i dori ar ddystawrwydd yr anialdir. Boreu y trydydd dydd yn yr anialwch cyfarfuasom a chanoedd o'r Sakalavas ar eu ffordd, gyda beichiau o amrywiol nwyddau, ac ugeiniau o wartheg a moch, i farchnad a gynelid yn un o drefi yr Hovas y daethom trwyddi. Cynelir y marchnadoedd hyn bob wythnos, eithr ni feiddia y

Sakalavas fyned iddynt heb fod yn barod i ryfel. Teithient yn un llinell hir, yn ymestyn am oddeutu milltir o ffordd. Ymddangosent yn gyfeillgar, ond er hyny crynai fy *mormidas* gan ofn. Ateliais rai o honynt, gan ofyn pris buwch, a'r ateb ydoedd, dwy ddolar. Dyma le am fuchod, onide? *

Erbyn y nos cyrhaeddasom bentref bychan, yr hwn oedd y cyntaf heb gaerau o'i amgylch y daethom iddo er yr ail ddiwrnod wedi gadael Tananarivo. Safai hwn ar lan y brif afon yn y parthau hyny, a'r hon yr oeddym y dydd canlynol i ddechreu teithio arni mewn cwch am bellder o 75 i 80 milldir. Yn fuan ar ol cyraedd aethum at yr afon gan ymdrochi, yr hyn oedd bob amser yn adnewyddiad mawr i

* Dylaswn grybwyll cyn hyn mai *Mexican dollars* ydyw yr arian cylchredol trwy holl Madagascar; ond mae darnau *five francs* (*French*) yn pasio yn rhwydd yn y prif farchnadoedd. Nid oes yn Madagascar arian manach na doleri; ac i wneyd y diffyg hwn i fyny mae y doleri yn cael eu tori gyda chŷn caled a morthwyl i ddarnau o wahanol faintioli, o faint pen pin i fyny; ac y mae pawb yn cario clorian fechan i bwyso y darnau a gwybod eu gwerth. Mae y dull hwn yn drafferthus iawn. Aethym unwaith heb ddim o'r arian drylliedig, ac nid oedd cyn a morthwyl i'w cael; felly gofelais, pan gefais gyfleusdra, i ddarnio digon o ddoleri i bara tra y byddwn yn yr ynys, fel na chawn yr helbul hwnw drachefn.

mi; ond braidd cyn fy mod yn y dwfr rhedodd yr holl bentref i lawr gan waeddi *voy*, *voy*, h. y., *alligator*. Dychrynwyd fi gan hyn, a rhedais allan gan dybied ei fod ar gael gafael ynwyf; eithr deallais nad oeddynt wedi gweled un yr amser hwnw, ond eu bod yn gwybod fod pedwar o honynt yn y llyn hwnw, y rhai a ddeuent ar brydiau yn y nos mor bell a'r pentref. Wedi dychwelyd i'r pentref yr oedd blinderau eraill yn fy aros yn y ffurf o *mosquitoes* a llygod—y rhai diweddaf mor lluosog a hyf ag i geisio cario y ganwyll ymaith cyn i mi orphen swpera, ac nid oedd un dyben ceisio eu cadw draw nes ei rhoddi ar le uchel. Ceisiais gysgu, ond rhedai y llygod yn ol a blaen dros fy ngwyneb gan ymddangos fel pe yn cymeryd fy nhrwyn yn nôd i neidio drosto. O'r diwedd codais a gelwais ar Faralaly, yr hwn, gydag un arall, ddeallais oedd yn cysgu allan ar fath o *blatform* bychan wedi ei osod ar bedwar polyn tua saith troedfedd oddiwrth y llawr. Am y gweddill o'r noson cymerais i feddiant o'r lle hwnw gan eu gyru hwy i rywle arall, a thrwy hyny cefais ymwared rhag y llygod. Dranoeth daethum i bentref mawr lle y cefais well ty i aros ynddo. Ymddangosai y trigolion yn fwy gwareiddiedig yma heb fod yn ymdyru i'r ty, fel yn y manau

eraill, i lygad-rythu ar bobpeth. Ond yr oeddwn yn awyddus am gyraedd Majanga a chael golwg ar ddwfr hallt unwaith yn rhagor, felly anfonais Faralaly i logi *canoe* i'n cludo i lawr yr afon. Cefais ddeall yn fuan mai i Morvoy, pentref pwysig, tua ugain milldir o Manjanga y gallent fyned bellaf gyda'r *canoe*, a bod yn rhaid cymeryd rhyw fath o *sloop* oddi yno i Majanga. Deuai milwyr gyda ni fel o'r blaen, ac yr oeddym dan orfod i gymeryd pob ymborth i'n canlyn, gan nad oedd un pentref i'w gael rhwng yno o Morvoy.

Yr oedd yr afon ar y cyntaf yn llydan, ond yn fâs. Gwelid amryw adar, a saethais rai tlysion anghyffredin yn cynwys *parrots* amlliwiog. Arosasom y noson gyntaf ar ynys fechan, ond yr oedd y gwybed mor flinderus fel y gorfu i ni adael y lle hwnw yn fuan, a phrysuro i lawr yr afon. Boreu dranoeth teimlais fy nghefn yn oer, ac yr oedd fy ngwefusau yn glasu, a'm danedd yn curo yn nghyd, yr hyn a arwyddai fy mod ar gael y clefyd. Gorchymynais gymeryd y cwch i'r lan, lle y cymerais feddyginiaeth a choffi, a syrthiais i drwm-gwsg am rai oriau. Pan ddeffroais cefais fod Faralaly wedi fy nghadw mor boeth fel yr oeddwn wedi chwysu yn fawr, yr hyn debygaf fu yn foddion i weithio y clefyd allan.

Tywynai yr haul yn boeth erbyn hyn, a phrysurais yn mlaen ar y daith, gan osod gorchudd uwchben y rhan o'r cwch lle y gorweddwn. Y noson hono penderfynais wneyd math o babell o ryw frethyn oedd genyf, er cadw y gwybed draw. Glaniasom ar lanerch led isel a thywodlyd, a gorchymynais godi y babell ychydig latheni o lan yr afon. Tra wrth y gorchwyl ceisiai y Mormidas ddweyd cryn lawer o rywbeth wrthyf, ond gan na theimlwn yn dda ni thelais nemawr sylw iddynt. Modd bynag, sylwais eu bod, o herwydd rhyw achos, wedi sefydlu eu hunain gryn lawer yn mhellach oddiwrth yr afon, ac oddi wrthyf finau nag arfer. Ni feddyliais fod dim o'i le ar y pryd, eithr rywbryd yn nghanol y nos tybiais y gallai mai ofn *alligators* oedd arnynt, yr hyn a barodd gryn anesmwythder i mi. Yn fuan clywais dwrw yn y gwellt a'r *bamboos* oedd rhyngwyf a'r afon, a chodais gwr y babell i fyny, pryd y canfyddais un o'r creaduriaid hyny yn ymwthio tuag ataf. Neidiais i fyny, gan deimlo gwallt fy mhen yn gwneyd yr un modd. Daeth y Mormidas yn fuan ataf, ac wedi taflu ceryg i'r gwellt trodd y creadur yn ol tua'r afon. Saethais at ddau o honynt, ond ni pharodd hyny un cyffro iddynt. Tebyg mai arogl bwydydd a'u tynasai tua'r fan lle

yr oeddwn. Gwelswn ganoedd o honynt ar hyd yr afon, ond fel rheol nid oeddynt agos gymaint a rhai a welais ar yr arfordir dwyreiniol. Teithiais drwy y dydd a'r nos ddylynol er cyraedd Morvoy, yr hyn a wnaed tua thri o'r gloch y boreu.

Anfonais y llythyr a dderbyniais gan lywodraethwr Minantanana—sef y pentref lle y llogais y cwch—at lywodraethwr Morvoy, yr hwn a drigai ar ben bryn uwchlaw y pentref. Yr oeddwn wedi cael ar ddeall fod y llywodraethwr hwn yn berthynas agos i'r Prif Weinidog yn Tananarivo, a bod ei eiriau bron mor awdurdodol ar yr arfordir hwn ag eiddo y Frenines. Yn fuan daeth cenad i'm gwahodd i'r palas, ac erbyn fy mod wedi ymdrwsio ychydig daeth pedwar swyddog mewn lifrai i'm cyrchu. Yr oedd y Llywodraethwr ar y *veranda* wedi ymwisgo mewn dillad duon fel Ewropead. Cyferchais ef a'i wraig—yr hon oedd un a'r Hovas mwyaf golygus a welais—a gwahoddwyd fi i'r ty, yr hwn oedd yn debyg i dy Ewropead cyfoethog, gyda darluniau heirdd yn crogi ar y parwydydd. Daeth y morwynion a choffi i mewn, o'r hwn y cyfranogodd y llywodraethwr a'i wraig, ei brifswyddog, a minau. Wedi hyn daeth i ddangos y capel i mi, yr hwn, yn ol eu tyb hwy

oedd wedi ei addurno yn gostfawr. Gofynodd i mi aros am ychydig ddyddiau, â'r hyn y cydsyniais. Yn y pryduawn daeth seindorf, y rhai oedd yn cael eu llogi er budd i'r llywodraethwr, i chwareu mewn lle cysgodol, dan y coed, o flaen y ty, lle hefyd y rhoddwyd cadeiriau esmwyth i'r Llywodraethwr a fy hunan i eistedd ynddynt; ac yn ol gorchymyn y Llywodraethwr ymgasglodd ugeiniau o ddynion a merched i ddawnsio. Ceisiasant fyned trwy fath a *quadrille* yn ol y dull Ewropeaidd; cefais engraifft o'r *Malagazi dance.* Tua'r hwyr daeth masnachydd Arabaidd heibio, yr hwn oedd yn medru ychydig, Seisneg, a gwahoddwyd ef i aros swper. Trwy ei gyfrwng ef holwyd llawer arnaf am Rwsia, Twrci, a gwledydd eraill, am y rhyfel, ac a oedd tneddiad Lloegr yn gyfeillgar tuag at Madagascar ai nad oedd. Atebais yr oll oreu gallwn, a bod Lloegr yn eithaf cyfeillgar tuag at Madagascar, oddieithr gyda golwg ar ei gwaith yn cludo caethon o Mozambique. Dywedais na byddai i Lloegr orphwys nes llwyr atal y fasnach. Atebodd y llywodraethwr nad oedd ef yn ffafriol i'r fasnach, a bod y bai yn gorphwys yn gwbl ar y masnachwyr. Wedi aros dau ddiwrnod a noson gyda'r llywodraethwr caredig hwn, llogodd Arab *sloop* i'n danfon i

Majanga, yr hon a gyrhaeddasom dranoeth. Gwnaeth le cysurus i mi ynddi, ac anfonodd ei llon'd o forwyr a milwyr gyda mi i Majanga.

Hon yw y dref bwysicaf ar yr arfordir gorllewinol, a'r unig rai y gellid eu hystyried yn Ewropeaid yn y lle, ydynt dri o Ffrancwyr, un o'r rhai, modd bynag, sef y Trafnoddydd Ffrengig, sydd yn enedigol o Ynys Bourbon. Er nas gallai siarad Seisneg gwahoddodd y Trafnoddydd fi i wneyd fy nghartref gydag ef nes y cawn gyfleusdra i ymadael. Yn mhen ychydig oriau ar ol cyraedd y lle, derbyniais nodyn Seisnig yn fy ngwahodd i alw gyda Madame Baker. Dygwyd y nodyn gan fachgen bychan, melyn, yr hwn a wisgai gadwen aur, yn bwys o leiaf am ei wddf, ac hefyd yn unol a dull India Asiaidd gwisgai gylchau arian am ei goesau, nes bod yn boenus iddo gerdded. Yn ol y cais gelwais gyda Madame Baker, yr hon sydd yn enedigol o Cape of Good Hope, ac yn felen o ran lliw. Yr oedd ganddi luaws o addurniadau o'i deutu fel ei mab a'i merched. Daethai hi yno ddwy flynedd ar hugain yn ol, a phriododd Indiad cyfoethog, a hi sydd fel brenines ar y lle hwn. Gallai siarad Seisneg da ac yr oedd yn falch o weled pawb a allent ymddyddan a hi yn yr

iaith hono. Cefais croesaw mawr ganddi. Os edrychir ar y *map* gwelir fod Majanga bron yn union i'r gogledd o Tananarivo. Fel hyn yr wyf wedi cael y pleser o groesi Madagascar, yr hyn ni chyflawnwyd ond gan nifer bychan o bobl wynion yn flaenorol.

## PENNOD IX.

*Yn ol i Affrica—Glanio yn Mozambique—Cael y clefyd—Cyfarfod a boneddwyr Prydeinig—Hela ar y Cyfandir—Dal afon-farch—Desgrifiad o'r dref a'i hynodion—Ymweliad a Quilimane—Afon Zambezi—Ffarwelio a'r boneddwyr—Galw yn Inhambane—Hynodrwydd y lle—Delagoa Bay—Port Natal—Glanio yn Port Elizabeth, &c.*

Ar ol aros yn Majanga am 12 diwrnodd cefais gyfle i ymadael gyda agerlong o'r enw "Cashmere," berthynol i'r British India S. N. Co. Y cwmni hwn sydd yn cludo y llythyrgodau o Aden i Zanzibar, oddi yno i Ynysoedd Comoro a Nossi-Be, yna i Majanga, ac oddi yno i Mozambique, Affrica. Geilw yr agerlong *Cashmere* yno yn fisol, eithr y tro hwn ni arosodd yno ond dwy awr. Cryn orchwyl yn yr amser byr hwnw oedd casglu fy holl gelfi yn nghyd, ffarwelio a'r Llywodraethwr, Madame Baker, y Trafnoddydd Ffrengig, ac eraill a fuont yn hynod garedig wrthyf yn ystod fy arosiad yn y dref. Cwblheais ef yn llwyddianus, modd bynag, ac yn fuan yr oeddwn yn hwylio allan o'r *bay* ardderchog yn ol cyflymdra o ddeng milldir yr awr. Tua

haner cant o oriau o dywydd dymunol a'n dygodd i angorfa diail Mozambique, ac angorwyd mewn lle manteisiol i weled y dref, yr hon a ymddangosai yn dra mawreddog, gyda thai uchel a chadarn.

Mae tref Mozambique wedi ei hadeiladu ar ynys, ar y pen allanol i'r hon y mae amddiffynfeydd cedyrn a helaeth. Adeiladwyd hwy gan y Portugiaid tua thri chan' mlynedd yn ol, ond er hyny dywedir eu bod mor gyfleus at y dyben yr adeiladwyd hwy a rhai a adeiledir yn y dyddiau hyn. Dengys hyn nad ydoedd y Portugeaid yr adeg hono yn israddol i neb mewn rhyfel, mwy nag mewn pethau eraill. Bu y genedl hono unwaith ar y blaen i bron bob cenedl mewn ysbryd anturiaethus, yn enwedig gyda morwriaeth. Hwylient i barthau pellenig, gan ddarganfod gwledydd ac ynysoedd oeddynt hyd hyny yn anadnabyddus; a phe byddai modd cael allan eu holl hanes, credwyf y ceid eu bod yn fwy hyddysg yn ngwahanol barthau Affrica nag un genedl arall. Ond gadawaf i'r Portugeaid gan fyned i'r lan gyda'r stiward. Nid oeddwn yn teimlo yn dda er ys rhai oriau cyn cyraedd y dref, ac ofnwn fy mod ar gael ail ymweliad gan y clefyd. Yn mhen ychydig fynydau ar ol glanio teimlwn fy hun yn gwaethygu, a

hysbysais y stiward fy mod am fyned i westdy yn ddioed. Tarewais ar ddau frodor o Zanzibar yn gallu siarad Seisneg, y rhai a'm cyfarwyddasant i'r unig westdy yn y lle. Anfonodd y perchenog, yr hwn oedd yn gallu siarad ychydig Seisneg, Negro bychan i ddangos fy ystafell i mi, ac aethym i'm gwely, lle y bum am dri diwrnod cyn gallu sefyll uwch ben fy nhraed. Nid oedd un feddyginiaeth yn aros gyda mi, ac yr oedd cylchrediad y gwaed drwy fy aelodau bron wedi darfod. Anfonais am feddyg Arabaidd, ond ni feddai un feddyginiaeth na feddwn fy hunan, a'r cyfan a wnaeth ydoedd rhwbio er hywyddo cylchrediad y gwaed yn fy aelodau. Modd bynag, wedi tri diwrnod, gellais gymeryd llonaid llwy de o *quinine.*

Yr oeddwn wedi cael fy nysgu i gredu y buasai cymaint a hyny o *quinine* bron yn ddigon i fy lladd, hyd nes yr hysbyswyd fi gan rai profiadol yn yr amgylchoedd hyny, fod yn angenrheidiol cymeryd llonaid llwy de fechan, cyn y byddai ei effaith yn sicr. Ond yr oedd y Portugeaid bob amser yn gofalu am gymeryd *physic* neu rywbeth arall i agor y corff cyn cymeryd *quinine;* ac mae yn ddiameu ei fod yn cael mwy o effaith felly, ac yn llai niweidiol i'r cyfansoddiad. Erbyn tranoeth yr oedd-

wn wrth y bwrdd yn un o'r rhai cyntaf, ac ni bnm ond ychydig amser cyn gwneyd i fyny yn effeithiol am y tri diwrnod y bum yn absenol oddiwrtho.

Pan yn Madagascar, fy mwriad oedd myned gyda'r agerlong *Cashmere* i Zanzibar, ac oddiyno i Aden, Arabia, lle y cawn gyfleusdra i gael agerlong arall i'm cymeryd trwy y Môr Coch i ddinas Suez, ac i ymweled a phrif ryfeddodau gwledydd yr Aifft a Chanaan, ac yna dychwelyd trwy Ewrop i Gymru. Ond cyn i mi wella o fy salwch, yr oedd y *Cashmere* wedi cychwyn ar ei thaith gyda lluaws o deithwyr Portugeaidd ar eu taith i Portugal. Y newydd cyntaf am yr agerlong anffodus hon oedd ei bod wedi myned yn ddrylliau, a soddi mewn ystorm enbyd rhwng Zanzibar ac Aden, ar y fordaith hono, a cholli amryw fywydau, yn nghyda'r holl lythyrau, a phob peth arall oedd ynddi. Felly yr oeddwn yn cydnabod fod fy salwch y tro hwn wedi fy nghadw rhag cyfarfod a nerthoedd echrydus y dymestl hono.

Fy ngorchwyl cyntaf wedi codi allan ydoedd chwilio am rywun yn gallu siarad Saesneg. Yr unig Sais yn y dref, mor belled ag y gwyddai perchenog y gwesty, ydoedd Capten Elton, y trafnoddydd Prydeinig. Trwy

gymorth yr *Union Jack*, yr hon a chwyfiai uwchben un o'r adeiladau goreu yn y dref, ni bum nemawr o amser cyn dod o hyd i Capt. Elton, gan yr hwn y cefais dderbyniad croesawgar. Cefais fod yn nhy y trafnoddydd amryw Saeson, sef personau o'r enw Rhodes a Downey, yn nghyda dau swyddog a phedwar morwr, perthynol i'r llong ryfel *Lynx*. Ymddengys fod y *Lynx* wedi dal *Arab Dhaw*, neu *sloop* yn cludo caethion o Mozambique i Madagascar, ac anfonasid y chwech olaf yn ol i Mozambique gyda'r *sloop*, yr hon a suddwyd ganddynt ar ol rhyddhau y caethion. Yr oeddynt y pryd hwnw yn dysgwyl am ddyfodiad y *Lynx*, i'w cyrchu. Capt. Elton ydoedd y trafnoddydd sydd eisoes wedi ei grybwyll, am mai efe ddaeth gyda'r pedwar archwilwyr o amgylchoedd yr afon Zambezi i Natal. Cefais ar ddeall fod Roebuck wedi cyfarfod Capt. Elton yn Durban ar ol i mi ymadael, ac iddynt ddod gyda'u gilydd i Quilimane, lle y bu i Roebuck fyned yn mlaen i fyny yr afon uwchlaw Tate. Cefais ar ddeall fod Mr. Rhodes yn un o hen gyfeillion penaf Roebuck. Gwnaeth cyfarfod a'r boneddwyr hyn i minau deimlo fel dyn newydd; ac wedi disgyn ar unwaith i ganol cyfeillion, yr oedd yn rhaid i mi bellach aros gyda hwy.

Ganddynt hwy y cefais y wybodaeth gỳntaf fod Transvaal wedi dyfod i feddiant Lloegr, a dywedent fod y newyddion diweddaraf yn addawol iawn gyda golwg ar y meusydd aur. Cododd hyn awydd ynof am fyned eilwaith i Ddeheubarth Affrica, yn lle myned drwy y Mor Coch, fel y bwriadwyd genyf yn flaenorol. Yr oedd genyf dair wythnos i aros yn Mozambique cyn y cawn agerlong i fyned tua'r Deheubarth, y rhai a dreuliais yn lled gysurus. Bu i'r Capt. Elton, Rhodes, Downny, y ddau swyddog, a fy hunan, a llu o'r brodorion, fyned mewn cwch o ynys Mozambique i'r cyfandir, lle y treuliasom amryw ddyddiau yn yr anialwch yn hela. A dyma'r lle a gyfrifir yn nefoedd yr helwyr. Yr oedd pob math o fwystfilod, o'r cawrfil i lawr, i'w gweled yno. Lladdasom ddau lewpart, pump o *giraffes*, a gwelsom luaws o afon-feirch anferth mewn cryfder a maintioli; ac ar ol hir amser llwyddodd y brodorion i ladd un o honynt trwy blanu math o dryferi ynddo tra yn y dwfr.

Nid yw yn anhawdd cael hyd i'r creaduriaid anferth hyn, trwy eu bod i'w clywed yn pesychu ac yn tisian, weithiau am filltiroedd; ac o herwydd eu bod mor fawr, nis gallant ymguddio yn yr afonydd heb ddangos eu hunain rywffordd neu gilydd. Ond weithiau gor-

weddant yn ddystaw tan y dwfr fel y mae yr olwg arnynt yn debycach i greigiau duon nag i greadur a bywyd ynddo.

Ar ol planu y tryferi yn ddigon dwfn yn ei gnawd, a chan fod y brodorion wedi sicrhau rhaff yn y dryfer, cymerwyd y pen arall i'r lan i'w sicrhau o amgylch coeden, a dyna lle yr oedd golygfa wir ddychrynllyd—yr anghenfil mawr mewn cymaint o boenau oddiwrth y fflangellau wrth gael ei dynu i'r lan, nes oedd yr holl afon yn donau fel bryniau, a phan yn soddi tan y dwfr byddai yn chwythu chwyrndwll gyda'i ffroenau; ac weithiau chwythant y dwfr i fyny fel hylif o fynydd tanllyd, gan wneyd rhuadau a thuchanau digon hyll i ddychrynu pob peth byw. Gwel y darlun ar y tu dalen canlynol.

O'r diwedd llwyddwyd i'w gael i'r lan wedi ei ladd, yr hyn oedd yn llawenydd mawr i'r brodorion; ac, mewn gwirionedd, yr oedd pawb o honom wedi cael ein llwyr foddloni yn yr helfa hon.

Yn agos i lan y môr yr oedd perllanau anferth o goed eur-afalau, a'r oll yn llawn o'r mathau mwyaf a melusaf a welais yn unman erioed; ac yr oedd y cwbl i'w cael am eu hel. Yr oedd y rhai hyn wedi cael eu planu amser maith yn flaenorol gan un o'r Portugeaid cy-

foethocaf, yr hwn oedd wedi adeiladu palas ardderchog ar y lle, ond o herwydd clefydau marwol yr amgylchoedd, bu iddo adael y lle i'w dynged. Bu i rai o honom wario tri diwrnod yn yr amgylchoedd prydferth, ond afiach hyn, tra y bu i Capt. Elton, a dau arall, fyned i ben mynydd oedd i'w weled yn y pellder o ugain milldir, a daethant yn ol wedi gwneyd *sketch* dda ac amlwg o'r mynydd a'r amgylchoedd yr ymwelsant â hwy. Ar ol hyn darparwyd y cychod i ddychwelyd i Mozambique, yr hyn a gyflawnwyd mewn ychydig amser dan wynt teg.

Erbyn dychwelyd i Mozambique yr oedd y *Lynx* wedi cyraedd yno, ac aethom ar ei bwrdd, lle y cafwyd amser difyrus am y gweddill o'r diwrnod hwnw, ac am amryw ddyddiau wedi hyny. Ar y llestr hon y bu y cyfaill Partridge, o gwmni Patrick, Lucas, & Co, Placerville, California, yn treulio llawer o flynyddau fel swyddog. Dywedai Mr. Brown, un o brif swyddogion y llestr wrthyf, i Mr. Partridge adael y *Lynx* am yr aur-gloddiau, gyda thair mil o bunau yn ei feddiant. Genedigol o Ddeheudir Cymru yw, ac yr oeddym wedi gwario llawer o amser gyda'n gilydd yn amgylchoedd Placerville, Calif., ac yr oedd swyddogion y *Lynx* yn ymddangos yn llawen wrth

glywed am ei lwyddiant yn California. Mae Mozambique yn hen dref, ac mae heolydd golygus iawn ynddi–yr adeiladau ar y cyffredin wedi eu gwneyd â *bricks*, ac yr oedd amryw o adeiladau newyddion a gweithiau eraill yn myned yn mlaen, a'r gwaith gan mwyaf yn cael ei wneyd gan y merched brodorol, sef y Negroaid. Dyma lle mae y gwir negro i'w gael. Gwelir y negros mwyaf gwreiddiol yn Mozambique, ac yr oedd yr olwg arnynt yn taflu fy nghof i'r Talaethau Deheuol, lle hefyd y gwelir y gwir negros o Guinea, gorllewinbarth Affrica. Mae y Portugeaid yn cael y dylanwad goreu arnynt, ac wedi llwyddo i droi lluaws mawr o honynt at eu crefydd eu hunain, sef Pabyddiaeth. Mae amryw o gapelau da yn y dref, ac addoli cyson, yn debyg fel y gwelir mewn trefydd Pabyddol eraill. Ar yr heolydd cyfarfyddir â llawer o swyddogion rhyfel Portugeaidd, wedi ymwisgo yn y modd mwyaf golygus a hardd. Y prif fasnachwyr oeddynt Banyans ac Arabiaid. Mae yno seindorf ragorol yn chwareu dair noswaith o bob wythnos mewn *park* bychan dymunol ar lan y bau, lle y ceir awel hyfryd, os bydd awel o gwbl. Portugeaid oedd y chwareuwyr, ac yn sicr yr oeddynt yn soniarus dros ben, a gallwn feddwl i'w cymharu yn ffafriol iawn a'r *bands* yn Ewrop

ac America. Pan fyddai y *band* yn chwareu, gwelid canoedd o'r negroaid yn dawnsio yn eu dull rhyfedd eu hunain, a phan y byddai y chwareuwyr yn cerdded, byddai yr heolydd yn llawn o'r merched brodorol yn rhedeg ac yn dawnsio. Ymddengys fod y brodorion hyn yn hoff o bob math o gerddoriaeth.

Gan fod sefyllfa yr ynys hon yn y trofanau, ceir pob math o lysiau a ffrwythau mwyaf dymunol yn yr holl amgylchoedd, ac o amgylch anedd-dai pawb; ond er hyny, mae rhanau o'r dref, o herwydd ei bod yn wastad, ac heb gael ei *drainio*, yn ffiaidd ac annymunol i'r eithaf. Mae eur-afalau o'r fath oreu i'w cael am y nesaf peth i ddim, felly hefyd y gellir dweyd am y *bananas*, *pine-apples*, *cocoa-nuts*, &c., o herwydd yr oedd yr holl wlad yn llawn o honynt. Yr oedd pob peth at ei fwyta yn rhad, ond costiodd i mi am y llety yn yr *hotel* yn ol saith *franc* y dydd, neu tua dollar a haner o arian y Talaethau Unedig; felly mae y trafaeliwr yn gorfod talu yn uchel yno fel pob man arall, yn enwedig pan ystyrir nad oes ond un gynfas (*one sheet*) yn cael eu rhoddi ar y gwely trwy y flwyddyn, ac nid oedd ffenestri ond megys tyllau agored, ac mae yn annichonadwy cysgu yn yr ystafelloedd

un amser heb y *mosquito curtains*, er cadw y *mosquitos* draw.

Lle afiach ydyw Mozambique, fel Zanzibar, a manau eraill ar yr arfordir hwnw, ac mae y *quinine* yn cael ei ddefnyddio rhag y clefydau gan o'r bron bawb o darddiad Ewropeaidd, yn y dref. Aethym drwy ei chladdfa, a gwelais enwau amryw Saeson, ac un Cymro o'r enw David Ellis—y cwbl wedi marw o'r clefydau; ac yn ol darlleniad ar y beddau, swyddogion ar longau rhyfel Prydain oedd y mwyafrif o honynt. Tra yn y fynwent hono methais a gweled un o'r holl luoedd wedi byw i weled pedwar ugain mlwydd oed, yr hyn a ddengys yn eglur nad ydoedd yn lle iach. Wedi gwario y tair wythnos, fel hyn, mor ddifyr ag y gallwn yn mhlith y byw a'r meirw, daeth yr agerlong *Kaffir* i mewn yn fawreddog, ac yn ei hamser penodedig, o Zanzibar, ac yr oeddwn yn falch cael myned ar ei bwrdd, ac o dan faner Prydain unwaith yn rhagor. Yma yr oedd Saesneg yn cael ei siarad, yn lle y Portugeaeg, fel yn y dref. Yr oedd y llong ryfel *Lynx* wedi cychwyn er's dau ddiwrnod i ddanfon Capt. Elton a Downny i Quilimane. O herwydd busnés gorfu i Mr. Rhodes aros i ddyfod gyda'r un agerlong a minau, felly cefais eto gyfleusdra i wrando hanes teithiau a

helyntion hynod a difyrus yn nwyreinbarth Affrica. Yr oedd ef ei hun wedi teithio llawer mewn gwahanol barthau o'r wlad fawr hono, ac yr oedd yr hyn a lefarai yn adeiladol a dyddorol.

Un o'r manau mwyaf peryglus i lestri o faintioli ydyw croesi y *bar* yn ngenau yr afon Zambezi, o herwydd ei fod mor fas a gerwin. Bu iddynt saethu am *bilot* yn mhell cyn dod at y *bar*, ond nid oedd *pilot* yn dod, a rhoddwyd angor i lawr, i aros i ryw un wneyd ei ymddangosiad, gan saethu ac anfon *rockets* i fyny am amser maith, heb un arwydd o wrandawiad, er fod y tir yn y golwg am bellder. Yr oedd hyn yn beth newydd i'r capten a'r swyddogion, canys arferid eu cyfarfod yn brydlon; felly credai ein capten fod rhywbeth wedi dygwydd, ac ar dop y llanw, codwyd yr angor ac agerwyd yn mlaen yn araf a gofalus, ond nid heb fod mewn ofnau parhaus. Ond awd dros y *bar* yn ddiangol, a chyfarfyddwyd â ni ar yr afon gan Arab oedd yn dra hyddysg a'r afon, a dywedodd mai wedi boddi y noswaith flaenorol yr oedd y *pilot*, mewn canlyniad i yfed gormod o *liquors*; ond llwyddwyd i fyned a'r *Kaffir* i fyny i Quilimane yn ddiangol.

Yn Quilimane cyfarfuasom eilwaith a theulu

y *Lynx*, a chan fod äil swyddog y *Kaffir* yn myned dan gyflog gyda'r cwmni i'r parthau mewnol, er cymeryd arsylliadau, &c., aethym i'r lan, ac arosais yn yr un ty ac ystafelloedd ag yr arferai Dr. Livingstone fyw ynddynt tra yn Quilimane. Cawsom *frolic* iawn ar fwrdd y *Kaffir* y noson hono. Er fod yr enw Quilimane yn lled hyddysg i'r rhai a ddarllenasant hanes teithiau Livingstone, ac eraill, nid yw ond lle bychan, ac oddiar yr afon nis gellir gweled ond ychydig adeiladau tebyg i anedd-dai. Mae yn y lle, modd bynag, amryw o fasnachwyr Ffrengig, Germanaidd, Norwegaidd, a Portugeaidd, yn gwneyd busnes helaeth; eithr tebyga eu masnachdai i anedd-dai, ac o'r braidd y gwelir dim nwyddau ynddynt. Mae yn y lle hefyd luaws o'r Banyans, Malabars, ac Arabiaid, a diau fod yr oll yn gwneyd yn dda, gan mai Quilimane yw y prif farchnadle ar yr afon Zambezi, a dygir canoedd o dunelli o ifori a chrwyn yno yn flynyddol. Mae digonedd o ffrwythau o bob math i'w cael yno, yn enwedig cnau cocoa, eur-afalau, &c. Saif y dref ar lanerch isel a gwastad ar ochr ogleddol yr afon, yr hon sydd yn llydan iawn yno, ac am rai canoedd o filldiroedd, meddir, i mewn i'r wlad. Dywedir nad oes un bryn i'w ganfod wrth fyned i fyny yr afon, nes y deuir

at ymarllwysiad yr afon Shire i'r Zambezi. Gan hyny, nid rhyfedd fod Quilimane a'r amgylchoedd mor afiach. Fel yn Mozambique, mae golwg afiach ar y trigolion, bron yr oll o'r rhai ydynt yn ddarostyngedig i *fever*, eithr trwy iawn-ddefnyddiad o *quinine*, mae cyfartaledd y marwolaethau wedi ei leihau yn fawr i'r hyn ydoedd yn yr amser a aeth heibio. A dyma lle y ffarweliais a'r cyfeillion anturiaethus oedd wedi bod mor garedig wrthyf, a rhoddais lythyr iddynt i'w roddi i'r hen gyfaill Roebuck, yr hwn oedd yn cynwys tipyn o fy helyntion er pan ymadawsom a'n gilydd yn Port Natal.

Ni wnaeth yr agerlong *Kaffir* ond arosiad byr yn y lle. Er ei bod yn ben llanw pan oeddym yn croesi y *bar* yn ol, mewn un man nid oedd ond tri chufydd o ddwfr, ac ofnai y capten yn barhaus y byddai i'r llestr daro y gwaelod. Beth bynag, cyraeddasom y cefnfor yn ddiogel, ac ar ol rhedfa o 54 o oriau, daethom i olwg yr afon Inambane. Wedi saethu amryw weithiau daeth y *pilot* i'r golwg yn mherson Negro o'r fath dduaf. Ar y pryd nid oedd yn ben llanw, eithr credai y *pilot* du fod digon o ddwfr ar y *bar* i'r *Kaffir* fyned drosodd yn llwyddianus, ac felly rhoddwyd y llestr dan ei ofal, a gwnaeth yntau ei ffordd

yn fedrus dros y *bar* gwaethaf a welais erioed. Torai y beisdonau yn wynion yn y man yr oeddym i fyned trwodd, a chymaint oedd eu ffyrnigrwydd fel y tarawodd yr agerlong y gwaelod dair gwaith. Parodd y tarawiad cyntaf ddychryn i bawb—yr oedd y masnachwyr yn gwaeddi, ac eraill yn rhedeg at y cychod, ond pan welwyd fod y *Kaffir* yn myned rhagddi, adferwyd tawelwch. Y mae yr afon mor llydan a dofn a'r Zambezi, a saif Inambane oddeutu yr un pellder o geg yr afon hon ag yw Quilimane o geg y Zambezi, sef pymtheg milldir. Mae gwastadrwydd y tir ac ymddangosiad y ddwy dref hefyd yn gyffelyb, a'r un modd eu masnach, ond fod trafnidiaeth Inambane rywfaint yn llai na'r eiddo Quilimane. Yn y lle blaenaf nid oedd ond tair o longau pan oeddwn yno, tra yr oedd naw yn nghyda dwy agerlong yn Quilimane.

Yn mhen ychydig oriau ymadawsom o Inambane, ac wedi teithio yn lled agos i'r tir am ddeugain o oriau, cawsom ein hunain yn Delagoa Bay, un o'r *bays* goreu yn holl Affrica. Ni wyddis am un lle ar y cyfandir yn meddu cymaint o gyfleusderau at wneyd porthladd da i longau o bob maintioli a hwn, ac oni bai afiechyd y lle, mae yn debyg y buasai yn un o'r manau pwysicaf yn y wlad, yn enwedig os

try meusydd Transvaal—y rhai nid ydynt ond 130 o filldiroedd o bellder—yn llwyddianus mewn mwnau a chynyrchion amaethyddol, fel y dysgwylir iddynt. Yr oedd rheilffordd ar gael ei hadeiladu o Delagoa Bay i'r meusydd aur. Nid oes dim neillduol yn y dref mwy nag yn y ddau le blaenorol, eithr cyfrifir hi yn un o'r lleoedd mwyaf afiach. Bu dwsinau o fasnachwyr Seisnig yno yn cychwyn busnes, ond ychydig o honynt a fuont alluog i gadw eu hiechyd—torodd rhai i lawr bron yn uniongyrchol, a chollodd eraill eu hiechyd am eu hoes. Ar y pryd hwnw nid oedd yno ond dau o Loegr, sef "Old Jack," fel y gelwir ef, ac mae yn cadw *saloon* gyda llwyddiant, ac yn adnabyddus i luaws mawr. Boneddiges o Loegr hefyd oedd yn rhedeg y brif *hotel*, ac yn gwneyd yn dda; a phan y gelwais yno, yr oedd y ty yn llawn o helwyr, wedi bod yn ddigon llwyddianus i ddal amryw ddwsinau o *giraffes* a *game* mawr arall. Hyd yno yr oeddwn wedi codi fy nhocyn o Mozambique, gan fwriadu cerdded oddiyno i'r meusydd aur os cawn fod y newyddion yn ffafriol. Yr oedd saith o'r *diggers* newydd ddod i lawr gyda'r newydd fod llawer o aur yn cael ei ganfod, ond fod canoedd yn methu gwneyd digon i'w cynal, gan fod y dwfr yn brin, o herwydd sych-

der y tymor. Felly penderfynais na anturiwn yno y pryd hwnw, a chodais docyn i Port Elizabeth, yr hwn le a gyfrifir yn Lerpwl Deheubarth Affrica.

Hwyliasom tua Natal, ond yr oedd y *bar* yno mor fâs a garw fel nas gallai un bywydfâd fyned drosodd. Safai tua deugain o longau er's amser oddiallan yn dysgwyl am fynediad i mewn, a chynifer a hyny o'r tu arall yn awyddus am ddyfod allan. Bu yn rhaid i ni, yn y fan hon, gael ein trosglwyddo i'r agerlong *Nyanza*, un o'r agerlongau goreu a fedd y cwmni; ac er fod capten a swyddogion y *Kaffir* wedi ymddwyn yn hynod garedig, yr oedd newid yr agerlong yn ddymunol genym. Gwnaeth y *Nyanza*, y tro hwn, yr amser cyflymaf y ceir hanes am dano o Natal i Port Elizabeth, sef 28½ o oriau. Gwnaed ganddi hefyd, dro yn ol, y fordaith gyflymaf o Southampton, Lloegr, i'r Cape, sef mewn 20 dydd a 10 awr. Yr oedd y *Nyanza* i alw yn East London, eithr oblegid y niwl methwyd a chanfod y fynedfa, ac yn fuan cawsom ein hunain wedi angori yn Algoa Bay, Port Elizabeth. Mae Algoa Bay yn un o'r angorfeydd helaethaf yn Neheubarth Affrica, ond llawer rhy agored, ac o herwydd hyny, ugeiniau o longau wedi colli yno yn ystod y blynyddau diwedd-

af. Mewn un diwrnod, oddeutu chwe' blynedd yn ol, chwythwyd 13 o lestri yn ddrylliau. Nid oes math yn y byd o ddociau yn Port Elizabeth, ac ofnir fod yn anmhosibl gwneyd rhai, gan fod y beisdonau yn rhy erchyll. Amser yn ol anfonwyd Sir John Coode i archwilio y porthladdoedd, a gwnaeth archwiliadau manwl arnynt oll, ac er y byddai y gost yn anferth, credid y byddai ryw fath o ddociau gael eu gwneyd yno yn fuan.

Nid oes amheuaeth nad Port Elizabeth yw y dref fwyaf golygus a bywiog yn neheubarth Affrica, a thebyga o ran anedd-dai a phoblogaeth yn llawer mwy i ddinasoedd Lloegr nag un dref arall yn y parthau hyn. Mewn gwirionedd nid oes dim o waith yr Ellmyniaid i'w ganfod yma, eithr masnachwyr Seisnig a geir fynychaf. Parha y lle i gynyddu, ac y mae llawer o adeiladu yn myned yn mlaen. Saif y rhan fwyaf o'r dref ar fryn, gyda gwaelod yr hwn y rhed y brif heol. Mae tair rheilffordd, neu o leiaf dair cangen, yn cael eu hadeiladu yma. Llinell Caradog, neu reilffordd y North Eastern, yw y brif un, ac oddeutu pum' milldir ar y ffordd hon cychwyna llinell Graffaunett. Rhed y gangen arall i Greamstown ac Alicedale, 70 milldir o Port Elizabeth.

Treuliais tua thair wythnos yn Port Elizabeth, mor gysurus i mi fy hunan ag y gallwn, ac hefyd er mwyn cryfhau tipyn arnaf fy hun, o herwydd yr oeddwn yn teimlo yn fynych oddiwrth effeithiau y clefydau, ac yn gorfod cymeryd dognau o *quinine* yn barhaus; ond er hyny yn gallu myned o gwmpas heb un blinder, a theimlo fy hun yn gwella yn ddyddiol, o herwydd yr oedd y lle hwnw yn hollol iach. Mae llyfrgell dda ac yn rhydd i bawb yno, ac er fod y lle yn ddi goed, mae golwg brydferth a glan ar y dref; ac yr oedd masnach mewn cyflwr da yr amser hwnw—cyflog da i bob gweithiwr, a hyny mewn arian caledion Lloegr, ac yr oedd rheol dda ar bob peth yn y lle. Ond gadewais Port Elizabeth gyda fy ngwn ar fy ysgwydd, a fy mwriad oedd myned i fyny ar y reilffyrdd oedd yn cael eu gwneyd yno, i'r dyben o gael *contract*, os gallwn. Cymerais y *train* i bentref Alicedale, yr hwn oedd y lle pellaf y rhedai ar y pryd. Yn y pentref hwn yr oedd y prif beirianydd yn cartrefu, ac aethym i'w weled yn ddioed, ond hysbyswyd fi ganddo fod yr holl waith oedd i'w osod felly, wedi cael ei gymeryd amser yn ol, ac mai Americanwr, o'r enw Sullivan, oedd wedi cymeryd y gwaith trymaf, yn y rhanau mwyaf bryniog. Gan nad oedd ond ychydig

filldiroedd o'r gwersyll yno, aethym i weled Mr. Sullivan. Yr oedd ef wedi treulio pedair blynedd ar ddeg yn Neheubarth America, ac wedi bod yn dilyn yr un gwaith cyn dyfod yno. Addawodd *sub-contract* i mi yn fuan, ond fel rhyw fath o *jack of all trades*, sef yn *camp boss*, yn gystal a *store* a *time keeper* yn ngwasanaeth Mr. Sullivan y bum am tua dau fis, a hyny tua 75 milldir o Port Elizabeth, ar y North Eastern neu Caradog Line. Yn mhen tri mis ar ol i mi fyned ar y *railway*, gwelais a ganlyn yn un o bapyrau Port Elizabeth:

"*Marwolaeth Trafaeliwr.*—Oddeutu deugain milldir i'r de o Livingstonia, yn nghartref *chief* caredig sydd adnabyddus i mi, bu farw teithiwr, neu yn hytrach *hunter and trader* nodedig. Yn ol a allwn ganfod ar ei lythyrau a'i ddyddlyfr, ei enw oedd Frank Roebuck. Ymddengys ei fod yn ysgolhaig rhagorol, ac mae hanes teithiau rhyfeddol yn ei ddyddlyfr. Mae ganddo tua pedwar can' punt o arian Lloegr, yn aur melynion, gydag ef, a gwerth llawer mwy na hyny o nwyddau at fasnachu gyda'r brodorion, a llawer o *ivory*. Mae ganddo chwech o ganlynwyr—tri o Quilimane, a thri o Tate. Claddwyd ef yn ddirodres, yn ymyl Kraal, y *chief*, &c. Os oes rhai o'ch darllenwyr yn gwybod am Mr. Roebuck, er mwyn

ei deulu a'i gyfeillion, bydded iddynt anfon ataf fi, a gwnaf fy ngoreu i gael ei eiddo i'w lle priodol. Yr eiddoch, Dr. STEWART."

Anfonais yn ddioed at olygwyr y newyddiadur crybwylledig yr hanes am Roebuck, gan belled ag yr oeddwn yn gwybod, ac fod Dr. Stewart wedi cael gwybod y cwbl am dano erbyn hyny trwy Capt. Elton a'i gwmni, a grybwyllwyd am danynt eisoes, o herwydd yr oedd Mr. Roebuck i'w cyfarfod yn Livingstonia. Diolchodd y golygwyr i mi am fy llythyr, a chyhoeddwyd y ffeithiau oedd ynddo yn y newyddiadur cyntaf. Er eglurhad feallai mai gwell yw crybwyll mai sefydliad Scotaidd yw Livingstonia, ar lan llyn Nyanza, yr hwn ddarganfyddwyd gan Livingstone, ac er cof am dano y mae y sefydliad hwn wedi ei godi. Mae y llyn yn fawr, ac yn llwythog o bysgod, ond afiach yw yr holl amgylchoedd. Dr. Stewart oedd genadwr anturiaethus, ac adnabyddus iawn yn y cylch hwnw. Arferid cymeryd dau neu dri mis i fyned yno o Quilimane, a thrwy ei fod yn lle mor anhygyrch ac afiach, araf yw cynydd y sefydliad hwn. Mae nwyddau o bob math yn cael eu hanfon i Livingstonia tuag at fasnachu a'r brodorion, ac mae yn debyg mai yno yr oedd y cyfaill Roebuck yn meddwl gwario y pedwar cant aur

crybwylledig uchod, am nwyddau cyfaddas i fasnachu a'r brodorion, yn y parthau yr oedd yn bwriadu myned trwyddynt.

Yn ol gorchymyn Mri. Rhodes a Downny, anfonais lythyr i'w cyfarfod i Zanzibar, i ofal Dr. Kirk, *H.M. Consul*, ac ar ol hir ddysgwyl, derbyniais y llythyr torcalonus canlynol, wedi ei ddyddio

*Zanzibar, Chwefror* 20, 1878.

Anwyl Gyfaill,—Derbyniais dy lythyr, &c. Cyrhaeddodd pawb o honom yma ond ein llywydd dysgedig ac anturiaethus, ar y cyntaf o'r mis hwn. Bu ef farw, a gallaf dy sicrhau mai cyfyng iawn y bu i ninau ddianc gyda'n bywydau, ac yr ydym oll ar hyn o bryd o'r bron yn rhy wael i ysgrifenu; ond yr ydym yn cael pob croesaw ac ymgeledd gan y *Consul*, Dr. Kirk, ac yr ydym yn hyderu y byddwn mewn cyflwr gwell yn fuan.

Cyraeddasom Lake Nyanza heb lawer o helbul gyda'r brodorion oedd genym yn gadael Quilimane; ond y newydd cyntaf a dderbyniasom oedd marwolaeth ein cyfaill Roebuck o'r clefyd, ac yr oeddym yn barod i golli dagrau. Bu farw yn agos i Livingstonia, ac mae y bobl dda hyny wedi cymeryd gofal o'i eiddo hyd nes y clywir oddiwrth ei berthynasau. Rhoddasom bob fforddiant i Dr. Stewart yn

ei gylch, a rhoddais ar ddeall pa fodd i ddarganfod cartref ei fam yn Germany, &c.

Archwiliasom amgylchoedd y llyn mawr Nyanza yn lled fanwl, ac wedi hyny cyfeiriasom ein camrau tua Wmtumgora; ond o herwydd fod yr holl wlad mewn gwrthryfel cawsom drafferth annhraethadwy i gyraedd y lle hwnw. Yr oeddym mewn cyflwr o newyn ar y pryd, a diangodd y brodorion oedd yn ein canlyn, ac nid oedd modd cael neb arall i fod yn wasanaethgar. Wedi aros yno dros enyd o amser, i gael pethau i drefn, cychwynasom am Wscka, ar ffordd *caravan* rhwng Ujiji a Bamamoya. Yn y lle hwn tarawyd Capt. Elton gan yr haul, fel y bu farw heb yngan gair, yn mhen 48 o oriau. Claddwyd ef ar fryn uwchlaw gwastadedd Wscka; a dyma ddiwedd galarus ein cyfaill gwir anturiaethus a galluog. Yr eiddoch, &c.,

FRANK RHODES.

Anfarwolodd Capt. Elton ei hun fel archwiliwr Affricanaidd yn flaenorol i'r daith hon. Mae ei weithiau wedi eu cyhoeddi gan y Gymdeithas Ddaearyddol, a'u darllen yn gyffredinol. Efe wnaeth y gorchestwaith o chwilio yr afon Limpopo, o'i tharddiad i'w harllwysiad, a hyny ei hunan. Efe oedd darganfyddydd Rhaiadr Talo Azimiy, a bu yn archwiliwr yn

yr India. Bu yn is-swyddog dan Syr Hugh Rose, ac yn ei ddylyn tra yn y wlad hono. Gwnaeth hefyd daith gyda mintai wyddonol o Ffrancod i Mexico, ac ysgrifenodd lyfr yn cynwys yr hanes, dan yr enw "*With the French in Mexico.*" Ysgrifenodd hefyd waith ar Ddwyreinbarth Affrica, a'r gaeth-fasnach, &c. Yr oedd yn anhawdd cael ei alluocach fel ysgrifenwr, er nad oedd ond 38 mlwydd oed pan fu farw, cyn gorphen ei waith. Diau y daw ei holl weithiau o'r wasg, a hanes teilwng am ei fywyd anturiaethus a defnyddiol, gan rai galluog i'r gwaith. Bu hanes cyflawn o'r daith hon, fel eraill o eiddo Capt. Elton, yn cael eu darllen yn gyhoeddus o flaen y *Royal Geographical Society* yn Llundain, i'r hon y rhoddwyd gwrandawiad astud a pharchus, a chroniclwyd y cwbl fel yr hanes mwyaf cyflawn ac adeiladol a gafwyd erioed o'r rhanau hyny o'r rhandir mawr ac anhysbys hwnw o Affrica.

Ni chefais *sub-contract* gan Mr. Sullivan, ond cefais y fraint o fod yn brif arolygwr ei waith, yr hon oedd yn swydd dda, a chyflog anrhydeddus; a thrwy fod pobl o Ewrop, yn gystal ag o bob parth o Ddeheubarth Affrica, i *ddelio* â hwy, gwelais tra ar y *railway* lawer o bethau rhyfedd iawn. Adeiladodd Mr. Sullivan dŷ bychan o haiarn i mi yn mhen uchaf ei

waith, sef 85 milldir o Port Elizabeth, tra yr oedd ei safle ef ddeng milldir yn îs i lawr; ac o herwydd diffyg enw gwell, galwyd yr 85 yn Thomas' Camp. Ac heblaw bod gyda hwy ar y gwaith, yr oeddwn wedi ymgymeryd â chadw *shop*, neu *store*, i Mr. Sullivan yn y lle hwnw, er hwylusdod i'r gweithwyr; felly yr oedd yn cymeryd oriau, ar ol i'r diwrnod gwaith fyned heibio, i werthu gwahanol bethau i'r bobl, ac yn ol dull y wlad yn aml, yn cymeryd yr holl Sabboth i hyny. Yr oeddwn yn aml mewn cryn helynt gyda'r brodorion a fyddent eisiau bwyd neu nwyddau, pan na fyddai dim yn ddyledus iddynt; ac o herwydd eu hanwybodaeth, nid oedd modd eu darbwyllo o'r ffeithiau hyny. Yr oedd Mr. Sullivan yn cadw *store* yn y pen isaf i'r gwaith, gyda'r un blinder. Ond pen y mis, neu dydd y talu, yr hwn oedd i fod ar y dydd cyntaf o bob mis, dyna y dydd pwysig ac ofnadwy, trwy fod yno tua thri chant wedi ymgynull o amgylch ystafell Mr. Sullivan, er cael eu talu; llawer o honynt yn haner meddwon, yr hyn oedd yn eu gwneyd yn fwy afreolus. Yr oedd llawer o rai wedi dod yno i ddysgwyl arian, pan y byddent wedi codi mwy o'r *store* nag a fyddai ddyledus iddynt, ac wrth gwrs teimlent yn llidiog a gwrthwynebus. Gwel-

ais rai o honynt mor afreolus, fel y bu iddynt amcanu cymeryd dyrneidiau o arian ac aur oddiar y bwrdd, a dianc; ac er cadw rhyw fath o drefn ar ddydd y talu, byddai dau ddyn yn cael eu rhoddi yn y drws gyda gynau, ac hefyd i gymeryd gwaewffyn y brodorion oddiarnynt, tra y byddent yn yr ystafell yn cael eu talu; lle byddai pedwar o honom yn eistedd o amgylch bwrdd, gyda llawddryll mawr bob un. Er fod llawer o'r brodorion bob amser yn hawdd eu trin, ac yn gyfeillgar, eto yr oedd rhai o honynt yn groes a pheryglus bob amser; ac nid oedd llawer o'r *navvies* Prydeinig ond ychydig iawn yn well, o herwydd mai y dosbarth iselaf oeddynt, wedi cael eu trosglwyddo yno ychydig flynyddau yn flaenorol, trwy roddi hysbysiadau yn newyddiaduron Lloegr, a lleoedd eraill, am weithwyr cyffredin (*navvies*) ar y rheilffyrdd, i ymfudo i Ddeheubarth Affrica, y telid eu cludiad, ac y caent o 6s. i 8s. y dydd. Yr oedd yn rhaid iddynt ymrwymo am ddwy flynedd, ac o herwydd y galwad am bobl, ni thalwyd sylw i'w cymeriadau. Daeth canoedd, os nad miloedd, drosodd, a'r rhai hyny yn wehilion holl bobl Lloegr, a lleoedd eraill. Os nad gwehilion y bobl oeddynt, rhaid fod pobl Lloegr yn isel tu hwnt i amgyffred. Yr oeddynt yn

llawn mor anwybodus am bob gwaith a'r Kaffirs distadlaf; yn cyfeddach a meddwi, gan wario pob ceiniog a enillent, yna yn myned i gardota eu tamaid, fel "sipsiwns." Nid oedd un bob deg o honynt yn gallu ysgrifenu eu henwau. Nid rhyfedd fod yr Ellmyniaid yn erbyn y Saeson, o herwydd y mae y dosbarth hwn o honynt yn warth i'r byd gwareiddiedig. Meddylier am wehilion fel hyn yno yn cydweithio â'r brodorion dan oruchwylwyr, ac *inspectors* o Lundain, na fuont erioed allan o'r ddinas hono cyn myned yno. Nid ydynt yn gwybod am waith, na pha faint o waith ddylid wneyd mewn amser penodedig, a'r canlyniad yw, i reilffyrdd Deheubarth Affrica gostio bron gymaint arall i'r Llywodraeth ag a ddylasent wneyd. Yr unig ffyrdd a wnaed am y swm a farnwyd ar y cyntaf ydyw y rhai a adeiladwyd ar amodau (*contracts*).

Tra yma, derbyniais hysbysiad o New York fod y *brigantine Bedver*, Capten William Williams, brawd David Williams, New York, yr hwn sydd yn frawd yn nghyfraith i mi, yn hwylio o Quebec, Canada, am y parthau hyn. Gwelais yn y papyrau ei bod wedi cyraedd i Algoa Bay, Port Elizabeth a rhan o'i llwyth yn perthyn i Cape Town. Gan nad oedd modd i mi fyned yno, anfonais i'w wahodd i fyned

gyda mi i'r mynyddoedd i hela spring bucks, jackals, baboons, mwnciod, &c., a hyny er iechyd iddo. Derbyniais atebiad, nad oedd modd iddo adael ei long, &c., felly ni chefais y fraint o'i gyfarfod, er mor agos.

Y *grasshoppers* sydd yn blino amaethwyr America, ond y lindys (*caterpillar*) sydd yn difa pob peth yn y parth hwnw o'r byd ar amserau. Maent yn gorchuddio y ddaear mewn rhai lleoedd fel nas gellir rhoddi troed i lawr heb ladd llawer iawn o honynt; ac y maent wedi bod mor luosog ar y rheilffyrdd, fel yr oeddynt, wrth gael eu malurio gan yr olwynion, yn iro y cledrau, fel nad oedd yn ddichonadwy symud y trên o gwbl. Mae y creaduriaid dinystriol hyn yn difa pob peth tyfadwy.

Gwlad ddigon sychlyd yr olwg arni oedd yr amgylchoedd hyny, ond yr oedd y Dutch *Boers* yn gallu gwneyd bywoliaeth lled gysurus trwy godi ychain a defaid, ac yn enwedig ar yr adeg hon trwy dyfu gwahanol bethau at eu bwyta, a'u gwerthu am bris da i'r gweithwyr ar y rheilffordd. Ond wedi'r cwbl, blwyddyn ddrwg i'r Boers oedd hono, o herwydd sychder mawr. Bu am saith mis heb fwrw dyferyn o wlaw, ac mor anarferol o boeth, nes fod o'r bron yr holl afonydd a'r ffrydiau wedi sychu i fyny yn

hollol a'r holl bysgod i'w gweled yn feirw, megys ar dir sych, ac o herwydd hyny bu i filoedd o'r anifeiliaid farw. Yr oedd yr hanesion am y sychder yn dorcalonus i'r eithaf. Ond o'r diwedd disgynodd gwlaw maethlon, yr hyn a fu yn achos i newid gwedd pob peth mewn ychydig iawn o amser, yn enwedig y ddaear a'r anifeiliaid; er hyny yr oedd y ffarmwyr wedi derbyn cymaint o golledion, fel y cymerai amryw flynyddau, os byth, i ddyfod i fyny i'w sefyllfa flaenorol. Ac yn y cyfamser torodd rhyfel allan rhwng pedwar o wahanol lwythau, heb fod yn mhell oddiwrthym; a thrwy eu bod yn aflonyddu fel hyn yn nhiriogaeth Prydain, bu i Loegr gymeryd y rhan bwysicaf yn y mater, ac o'r diwedd yr oedd y pedwar llwyth wedi troi yn unfrydol yn erbyn y llew Prydeinig. Bu iddo gael llawer o drafferth i'w gwastadhau, a gwnaeth ddyryswch mawr i'r rheilffordd, a phob peth trwy holl ddeheubarth Affrica; a meddyliais unwaith mai milwyr fyddai yn rhaid i bawb o honom fod yn fuan. Rhoddodd y llywodraeth arfau yn llaw pawb o honom—pobl wynion, rhag ofn y byddai i'r gwrthryfelwyr ddisgyn arnom, fel yr oedd yr ofnau. Er na fu iddynt ein haflonyddu o gwbl, yr oeddynt yn

ein cadw ar wyliadwriaeth, ac mewn ofnau parhaus tra y parhaodd y pryder.

Yr oeddwn yn awyddus er's amser am gael gweled gwlad fy ngenedigaeth unwaith yn rhagor, gan fod pedair-ar-ddeg o flynyddoedd wedi myned heibio er pan y cefnais arni; ac ar y seithfed dydd o Fai, daeth nifer luosog o gyfeillion i'r gwesty agosaf i'r *camp*, er mwyn cael math o wledd ar fy ymadawiad; a bu i mi wario y noswaith hono yn llawen a difyrus iawn, ac yma eto yn ffarwelio ag amryw gyfeillion gwir hoff genyf. Ond tri Kaffir, o'r enwau Steamer, Half and Half, a Sam fuont ffyddlonaf o bawb i mi, canys rhedodd y rhai hyn bob cam am 12 milldir er mwyn cael yr olwg ddiweddaf arnaf. Steamer oedd y cogydd a wasanaethai arnaf am tua chwe' mis, a chan na fuasai yn coginio i Ewropeaid yn flaenorol, cefais gryn helynt i'w ddysgu. Yn ystod y tywydd sych, yr haf diweddaf, yr oedd raid iddo fyned yn mhell iawn i gyrchu dwfr i'w yfed, a dwfr eithaf drwg a geid ar y goreu, a phob amser deuai Steamer a llyffaint yn y dwfr, am y credai eu bod yn ei buro. Anhawdd hefyd fyddai cael wyau yn y parthau hyny; ond un diwrnod llwyddais i gael dwsin trwy dalu 4s. 6c. amdanynt: ac heb gofio anfedrusrwydd Steamer, gorchymynais iddo ferwi rhai

o honynt i frecwast erbyn tua 9 o'r gloch. Aethym a Mr. Sullivan a boneddwr arall gyda mi i wledda ar yr wyau, ond ysywaeth cawsom fod y cogydd wedi berwi y deuddeg yn yr un crochan, ac am yr un amser a'r pytatws! Felly, cymorth i chwerthin oedd yr unig beth a gawsom yn gyfnewid am y pedwar a chwech hyny. Cymerodd ei enw oddiwrth yr ager-long yn yr hon y cludwyd ef o Zululand, i Port Elizabeth, ac ni fynai gael ei alw yn ddim arall. Half and Half a gymerodd ei enw oddiwrth enw math o ddiod a alwai y *navvies* yn *half and half*, o'r hon yr oedd ef yn dra hoff. Bu yn aros yn yr amgylchoedd hyny am ddwy flynedd,ac er cymaint oedd ei hoffder o'r ddiod, pan ofynais iddo faint o arian oedd ganddo wedi gynilo, atebodd yn gyflym, "Ten pounds, ten pounds, ten pounds, ten pounds, ten pounds, ten pounds." Chwarddodd Mr. Sullivan, a dywedodd fod ganddo £60 yn perthyn i Half and Half; ond yr oedd i ddychwelyd adref, meddai, y lleuad nesaf. Yr oedd Sam yn fwy hynod gyda hela na dim arall, ac felly byddai yn canlyn llawer arnaf; ond rhaid i mi adael y tri chyfaill yn awr.

Cyrhaeddais Port Elizabeth yr un dydd, a chefais fod y dref hono mewn braw, o herwydd derbyniad y newydd fod y tren oedd i

ddyfod i mewn ychydig ar ol yr eiddom ni, wedi cyfarfod a damwain, drwy i'r cerbyd olaf gael ei ddadgysylltu, ac iddo redeg yn ol, mewn goriwaered o 1 droedfedd mewn 40, nes y lladdwyd saith o bersonau, a mab i Mr. Steward, masnachwr mwyaf yn Port Elizabeth, oedd un o honynt.

---

## PENNOD X.

*Mordaith i Southampton—Galw yn Cape Town—Y Cyfnewidiadau—Agerlong o Loegr i Australia—Cyraedd St. Helena—Hynodion yr Ynys—Ynys Ascension—Croesi y Cyhydedd—Cape Verde—Ynysoedd y Canary—Mynydd Teneriffe—Ynys Madeira—Cyraedd Lloegr—Wythnos yn y brif-ddinas—Ymweliad a Chymru, Ffrainc, &c.*

Ar y 10fed, aethym ar fwrdd yr agerlong *Nyanza*, yr hon oedd yn ddewisol genyf fi fel llawer eraill, a chefais fod yno lawer o deithwyr, ac yn eu plith 50 o wirfoddolwyr ar eu dychweliad o'r rhyfel fu dan sylw yn barod, yn myned i lawer i Cape Town. Yr oedd y tywydd yn hynod o anghysurus, a'r mor yn anesmwyth. Aethym i ymweled a'r holl deithwyr, ond golwg hynod o anniolchgar oedd arnynt oll. Galwasom am ychydig yn Moosel

Bay, tref fechan, haner y ffordd rhwng Port Elizabeth a Cape Town. Lle hynod am bluf yr estrus ydyw, ac yr oeddwn wedi cael ar ddeall mai hyny ydyw prif fasnach y dref. Nid oes dim arall i'w gael yn yr amgylchoedd am ugeiniau, os nad canoedd o filltiroedd yn mhob cyfeiriad. Mae llawer o'r ffarmwyr yn magu estrus o herwydd eu pluf gwerthfawr; a bydd ganddynt yn aml o 50 i 75 o'r adar hyn, y rhai ydynt yn werth tua £45 yr un. Wedi morio dau ddiwrnod amgylchynasom y Cape, ac yr oeddym yn y llongborth. Gwelais fod gwelliantau mawrion wedi cael eu gwneyd ar y *docks* er pan fum yn y lle o'r blaen. Daeth dwy agerlong i mewn yr un diwrnod a ni; ac yr oedd un o honynt yn rhwym o Lundain i Melbourne, Australia, gyda 448 o deithwyr ar ei bwrdd. Creodd hyn brysurdeb mawr yn Cape Town, dros amser byr. Yr oedd y teithwyr i Australia yn prynu llawer o bethau oedd hynod iddynt, megys pluf, adar, baboons, monkeys, &c. Yn mhlith y gwelliantau yn y dref, gwnaed ffosydd dyfnion i gario y budreddi ymaith, a dygwyd i mewn ddwfr da o gryn bellder, fel y gellir dysgwyl y bydd y lle yn llawer iachach yn y dyfodol. Mae yno lawer o adeiladau hardd wedi eu codi, yn nghyd ag amgueddfa a llyfrfa ardderchog.

Ar y 14eg, am 5 yn y prydnawn, hwyliasom allan o'r lle, ac yr oedd ar y bwrdd genym 150 o ymdeithwyr, pawb yn llawen, a'u gwynebau tuag adref, a'r tywydd yn dra dymunol. "*Homeward bound*," oedd y geiriau melus oedd yn ngenau y mwyafrif. Moriasom yn hwylus a llwyddianus am chwe' diwrnod, nes y cyrhaeddasom ynys St. Helena, pellder o'r Cape, 1,700 o filldiroedd. Diau fod darllenwyr meddylgar wedi clywed llawer o son am yr ynys hon, canys gosodwyd nodedigrwydd mawr arni drwy i'r bydenwog Napoleon Bonaparte, gael ei alltudio iddi ar ol ei gwymp ar faes Waterloo, yn 1815. Hefyd dyma lle y bu efe farw. Gan fod mynyddoedd yr ynys yn dra uchel, yr oeddynt yn y golwg pan oeddym 65 o filldiroedd oddiwrthi. Lle creigiog, noethlwm ydyw, ac mae y trigolion yn hynod o felynion, sef cymysgedd o'r Indiaid Dwyreiniol ac Ewropeaid, oll yn siarad rhyw fath o Saesonaeg. Cwmni yr India Ddwyreiniol ddaeth a phobl i'r ynys ar y cyntaf, er mwyn cael safle i ddiwallu llongau ar eu mordaith o Brydain i'r India. Mae yno yn awr lawer o filwyr Prydeinig, yn cael eu cadw yn barod i'w hanfon, fel y bydd eu heisiau. Cawsom bedair awr o amser yn y lle. Mae y dref mewn hafan mawr rhwng

dau fynydd uchel. Yn ymyl y porthladd y mae Ysgol Jacob yn esgyn i ben yr ucheldir, yn cynwys 701 o risiau, ac ar y top y mae Aneddle y Milwyr, &c. Cychwynais i fyny y grisiau tra hynod hwn; ond wedi myned tua haner y ffordd, byrhaodd fy anadl, ac wedi edrych i fyny daeth amryw resymau i fy meddwl dros droi yn ol, er fy mod yn dra awyddus i gael dweyd i mi esgyn ar hyd Ysgol Jacob; ond pa fodd bynag, ofnais fod yr amser yn rhy fyr, a disgynais. Mae y lle yn cynwys 6,000 o bobl, hynod o dlodion, yr hyn a achosir gan ddiffrwythder y tir.

Y lle nesaf ar ein mordaith oedd Ynys Ascension, 700 o filltiroedd o bellder, a chyraeddasom hi ar y 23ain o'r mis. Os edrychir ar y map, gwelir fod hon yn nes i America Ddeheuol nag unrhyw barth o Affrica; a gellir dweyd fod yr ynys hon yn fwy noethlwm nag ydyw St. Helena. Perthyna i Brydain, ac nid oes arni ond goleudai, ac ystorfeydd i ddiwallu llongau rhyfel, a chludir pob peth at gynaliaeth y bobl o Loegr. Ni cheir dim gwlaw ar yr ynys ond rhyw unwaith bob tair blynedd. Mae yno o 300 i 400 o for filwyr, peirianwyr, crefftwyr, &c., i adgyweirio y cadlongau, &c. Ni welir dim coed yno ond ar ben mynydd tua 3,000 o droedfeddi o uchder; ac yno y mae y clafdy.

Cychwynasom oddiyno mor fuan ag y caed pethau yn barod, a bu y teithwyr yn difyru eu hunain oreu gallent, drwy ddarllen, ymddyddan, canu, &c. Pan heb fod yn mhell o'r cyhydedd, bu farw un John Edwards, oedd yn wael er's amser, wedi colli ei iechyd yn y Diamond Fields. Yn ei angladd, gweinyddwyd gan brif swyddog yr agerlong, a chladdwyd ef yn y dyfnder mawr; ac yn mhen ychydig amser wedi hyny bu farw geneth fechan, yr hon hefyd a gladdwyd yn y mor. Yn y cyfamser, daethom i olwg Ynysoedd Cape Verde, ynysoedd ffrwythlon yn perthyn i'r Portugiaid y rhai a ymddangosent yn goediog a dymunol. Aethom rhwng Ynysoedd Canary, ac heibio godreu y mynydd anferth Teneriffe, sydd 12,236 o droedfeddi o uchder, ac i'w weled 100 milltir o bellder, ac yn sicr dyma ryfeddod fawr natur mewn gwirionedd, o herwydd yr oedd i'w weled yn codi yn uniongyrchol o'r mor i'r uchder anferth crybwylledig. Dyma gartref gwreiddiol a naturiol y *Canary Birds* ag sydd yn cael eu hoffi mor fawr trwy yr holl fyd gwareiddiedig. Yr oedd amryw o bentrefydd prydferth yn y golwg, ac ymddangosiad iachus a dymynol arnynt oll; ac wedi i ni fyned drwy y twr ynysoedd, gwelem ynys y gwin, sef Mad-

eira. Mae yr olygfa ar hon yn wir ddymunol, hollol wahanol i'r oll a welsom o'r blaen, o herwydd yr oedd holl lethrau yr ynys wedi eu diwyllio a'u trin yn dra dymunol; ac wedi myned mewn cwch i'r lan, cawsom ddigonedd o'r gwin melus a maethlon. Yr oedd yn y lle ddwy gadlong, un Seisonig, ac un Americanaidd. Buom oddiamgylch yn gweled rhyfeddodau y lle. Dyma le iach, a lluoedd o gleifion yn dyfod yno am adferiad iechyd. Dywedir fod John Bull yn dra awyddus am feddianu yr ynys gyfoethog hon, a dichon y bydd iddo gael esgus dros ei chymeryd cyn hir. Profodd y Bay of Biscay yn lled gynhyrfus, fel arfer; ond er hyny, croesasom ef, a glaniasom yn Southampton, Lloegr, yn mhen pedair wythnos i'r diwrnod o'r amser y cychwynasom o Port Elizabeth.

Deallais mai dinas sydd yn cynyddu yn gyflym ydyw Southampton, ac o herwydd addasrwydd y porthladd i longau o bob maintioli, diau y parha i gynyddu yn y dyfodol. Mor fuan ag y daethym i'r lan bu raid i mi brynu gwlawlen, canys yr oedd y gwlaw yn disgyn yn rhwydd ar y pryd, ond yn fuan gwasgarodd y cymylau, a chawsom dywydd hyfryd dros amryw ddyddiau. Mae Southampton yn ddinas brydferth iawn, yn

cynwys parciau, palasau, ac adeiladau ysblenydd. Erbyn cyraedd yno yr oeddwn wedi dyfod i delerau cyfeillgar iawn, gyda dau foneddwr oeddynt yn cydforio a mi, sef Mr. Taylor a Mr. Brooks, y rhai oeddynt wedi gadael eu cartrefi cysurus yn agos i Lundain, ddwy flynedd yn flaenorol. Anfonwyd Mr. Brooks i Ddeheubarth Affrica gan ei dad, er mwyn adferu ei iechyd, a'r canlyniad fu iddo wella yn dda. Deallais mai wedi cael ei anfon i'r un lle yr oedd Mr. Taylor hefyd, o herwydd ei fod yn gogwyddo at afradlonrwydd gartref. Rhoddodd ei dad swm mawr o arian iddo i ddechreu masnachu. Hefyd addawodd ei dad ei helpu yn mhellach gyda mwy o arian, os llwyddai. Y canlyniad fu, pa fodd bynag, iddo wario y cwbl drwy hapchwareu a gloddesta, ac yn y diwedd bu raid i'w dad anfon swm mawr o arian i gael yr afradlon adref, ar ei addewid y diwygiai, ac y troai ddalen newydd yn ei yrfa yn y byd.

Rhoddodd y boneddwyr hyn y derbyniad caredicaf i mi; a bu raid i mi fyned gyda hwy i'w cartrefleoedd, heb fod yn mhell o Lundain, prif ddinas y byd. Cyd-deithiasom ar y rheilffordd o Southampton i Lundain, drwy wlad hynod o brydferth, ac ar yr adeg hono o'r flwyddyn yr oedd y golygfeydd yn ysblen-

ydd dros ben. Wedi cyraedd Llundain, ac edrych ychydig oddiamgylch, cymerasom y gerbydres yn lled fuan am gartref Mr. Brooks. Hen balasdy golygus iawn ydoedd, mewn lle prydferth a dymunol. Aethom ein tri yn syth i'r ty; a thrwy i Mr. Brooks gyraedd adref heb iddynt ei ddysgwyl, cafodd ei fam ei chyffroi yn rhyfeddol gan ei ymddangosiad. Treiddiodd llawenydd mawr drwy y ty yn ddiatreg, ac anfonwyd ar unwaith am y tad, sef Mr. Thomas Brooks, yr hwn sydd yn dra adnabyddus yn y brif ddinas, fel llenor, ac areithydd hyawdl. Cafodd pawb o honom y derbyniad mwyaf calon gynes gan y teulu caredig, a buom yn cydwledda yn llawen y noson hono. Hefyd yr oedd yn rhaid i Mr. Brooks a finau fyned gyda Mr. Taylor i'w gartref yntau, yr hwn oedd tua haner milldir yn mhellach. Nid oedd Mr. Taylor wedi hysbysu ei rieni yr amser y bwriadai ddychwelyd; ac mewn canlyniad yr oedd ei ddyfodiad yn hollol annysgwyliadwy.

Boreu dranoeth aethom drwy lidiard uwch ben yr hon yr oedd yr enw, Hope House, ac wele ni ar unwaith yn yr ardd brydferthaf a welswn er's amser; ac yr oedd fy nghyfaill, Mr. Taylor, yn adnabod yr holl flodau amryliw. O'n blaen yr oedd y ty, wedi ei amgylchu

gan bob math o dlysni blodeuol; ac yn mhen ychydig amser gwnaeth y fam ei hymddangosiad yn y Porth. Amcanodd Mr. Taylor ymguddio yn ein cysgod nes myned i'r ty, ond yr oedd llygaid craff y fam wedi ei ameu. Boneddiges hardd a deallus yr olwg arni ydoedd; a bu yr olygfa yn effeithiol i ddryllio teimladau Mr. Taylor, fel nad allai yngan gair. Dygodd y golygfeydd ddameg y Mab Afradlon i fy nghof, yn enwedig pan oedd y fam a'r ddwy chwaer yn cofleidio yr hwn oedd wedi dychwelyd adref. Anfonwyd yn ddioed am y tad, a darfu iddo yntau gofleidio ei fab gyda thynerwch mawr. Ar ol hyn hysbyswyd y cymydogion, a buont oll yn cydlawenhau, ac yn cydwledda. Er i Mr. Taylor fod yn lled afradlon yn ystod ei absenoldeb, ymddengys iddynt anghofio y cwbl, drwy y llawenydd o herwydd ei ddychweliad. Cefais y derbyniad mwyaf gwresog ganddynt oll, a gwahoddiad taer i aros yno am wythnos, neu bythefnos, ond yr oedd yn anmhosibl i mi gydsynio, o herwydd prinder amser.

Dranoeth aethym i Lundain, ac arosais yn y *Charing Cross Hotel*, a chefais yno bob cysuron a danteithion a all y mwyaf moethus ddymuno. Hwn oedd y tro cyntaf erioed i mi gael mantais i arsyllu ar ryfeddodau

mawrion prif ddinas y byd. Gan fy mod wedi clywed a darllen cryn lawer am dani, ni chefais fy siomi yn ei hynodion. Penderfynaswn amser yn ol yr aroswn am wythnos i weled rhyfeddodau Llundain, cyn dychwelyd i Walia Wen, gwlad fy ngenedigaeth. Yn ol cyngor fy nghyfeillion, Mri. Brooks a Taylor, llogais gerbyd bychan, wrth y dydd, i fy nghymeryd drwy y ddinas, fel y gallwn gael cipdrem ar ei phrif wrthrychau mawreddol. Yr wyf inau yn credu mai dyma y dull goreu i weled Llundain, os ceir gyriedydd da, fydd yn deall yr holl ddinas, ac yn gallu myned heb deithio dros yr un ffordd fwy nag unwaith. Cefais fy moddloni yn fawr yn fy nheithiau, a chynghorwn eraill i fabwysiadu yr un cynllun, os byddant yn ddyeithriad yn y ddinas. Mewn chwe' diwrnod, bum yn alluog i weled y prif ryfeddodau, y rhai ydynt yn llawer rhy luosog i'w henwi yn awr. Cafodd dau Dy y Parliament fwy o fy sylw nag unrhyw adeilad arall, nid am ei fod yn fwy mawreddog yr olwg arno nag adeiladau eraill, ond o herwydd mai y Parliament yn ddiau yw y Ddeddfwneuthurfa bwysicaf yn yr holl fyd. Yno y mae gwyr doethaf Prydain Fawr yn cyfarfod, i wneyd cyfreithiau a rheolau, i lywodraethu mwy nag un ran o bedair o dri-

golion yr holl fyd. Cyn ymadael a Chymru, 14 mlynedd yn flaenorol, yr oeddwn wedi cael ar ddeall nad oedd yr haul byth yn machlud ar diriogaethau Prydain Fawr; ond wedi glanio yn y Talaethau Unedig, fel llawer eraill, heb amgyffred mawredd y wlad y cefais fy ngeni dan ei llywodraeth, ac wedi teithio drwy ddeg ar hugain o Dalaethau a Thiriog-gaethau, daethym i gredu nad oedd un wlad arall yn debyg iddi o ran mawredd. Mae yn sicr ei bod hi felly i raddau, ac yn parhau i fyned yn fwy mawreddog mewn amryw o ystyriaethau; ond wedi ymadael o'r Talaethau, dechreuodd y syniadau oeddwn wedi goleddu am fawredd y wlad leihau, a daeth mawredd Prydain yn fwy i'r golwg. Baner Prydain Fawr yw y flaenaf ar for a thir, ac wrth deithio daw y ffaith hon yn rymus iawn ar feddwl yr arsyllydd ystyriol. Mae mwy o agerlongau yn croesi y cefnforoedd i wahanol wledydd y byd, yn chwyfio y faner Brydeinig, nag sydd yn perthyn i'r gweddill o'r holl fyd yn nghyd. Hefyd y mae nifer a nerth ei llongau rhyfel agos yn gyfartal i'r eiddo holl wledydd Ewrop yn nghyd. Dengys hyn fod Prydain yn Frenines y moroedd mewn gwirionedd. Hefyd, wedi i'r teithydd lanio mewn gwlad dramor, gwelir mwy o urddasolrwydd

bob amser dan y faner Brydeinig, na'r eiddo unrhyw wlad arall. Mae ei chynrychiolwyr mewn gwell adeiladau, a phob peth o'u hamgylch yn fwy gwych. Wedi myned i mewn ceir gweled fod y 1st, 2nd a'r 3d *classes* yn cael eu dal i fyny yn ofalus, yn swyddfau y Trafnoddwyr, a'r clercod oll dan gyflog anrhydeddus, yn ol eu safleoedd. Yn yr un lleoedd gwelir baner y Ser a'r Brith Resi, a berthyn i'r Talaethau Unedig uwchben anedddai, maelfau neu weithdai, neu swyddfa rhyw oruchwyliwr distadl. Mae cynrychiolwyr y Talaethau Unedig mewn gwledydd tramor, yn cael eu gorfodi i fyw mewn adeiladau gwaelion, o herwydd bychandra eu cyflogau. Maent yn llawer israddol yn hyn i gynrychiolwyr gwledydd Ewrop; ac mae amryw o Drafnoddwyr y Talaethau Unedig wedi cael eu gorfodi, gan gyflogau bychain, i fyned i fasnachu, er eu galluogi i fyw yn gysurus a pharchus. Dyna fel y gwelais hwy yn mhob man, oddigerth yn Ewrop. Mae yn sicr y dylai y Talaethau Unedig ddiwygio yn hyn, mewn trefn i ddal i fyny ei safle a'i hanrhydedd yn mhlith prif lywodraethau y byd.

Wrth deithio dan lywodraeth Prydain ceir sylweddoliad y ffaith fod ei Threfedigaethau a'i thiriogaethau, neu y rhai mae yn lywod–

raethu, yn cynwys un ran o saith o holl arwynebedd y ddaear! Mae eu poblogaeth yn fwy nag un ran o bedair o holl bobl y byd; ac mae yn teyrnasu dros 8,000,000 o filldiroedd ysgwar o arwynebedd y belen ddaearol, neu agos gymaint dri ugain o weithiau mewn arwynebedd a'r Deyrnas Gyfunol. O'r arwynebedd aruthrol uchod, y mae dros dair miliwn o filldiroedd ysgwar yn Ngogledd America; dros filiwn o filldiroedd ysgwar yn Affrica; miliwn a haner yn Asia, a thros ddwy filiwn a haner o filldiroedd ysgwar yn Australasia. Yn 1880, yr oedd 40 o Lywyddion yn gweinyddu dan y goron yn y meddianau uchod, fel y canlyn: Tri yn Ewrop; un ar ddeg yn, ac oddiamgylch America; deg yn, ac yn agos i Affrica; wyth yn Asia, ac wyth yn Australasia. Maentoll fel y gwelir isod: Ewrop.—Mae yma dri o Lywyddion, sef yn Gibraltar, Heligoland a Malta. America.—1. Y Bahamas sef twr o ynysoedd yn rhifo 800, eithr nid oes ond 20 o honynt yn meddu trigolion. 2. Bermudas, sef twr arall o ynysoedd yn rhifo 300, ac mae 15 o honynt yn meddu trigolion. 3. Canada, yn cynwys Talaethau Ontario, Quebec, New Brunswick, Nova Scotia, Manitoba, British Columbia a Prince Edwards Island. 4. Ynysoedd Falkland, y rhai ydynt

yn lluosog, eithr heb ond ychydig o drigianwyr. 5. Guana, yn America Ddeheuol. 6. Honduras ar yr un rhandir. 7. Jamaica, ac ynysoedd Turks a Caicos. 8. Ynysoedd Leeward, y rhai oeddynt yn cynwys Trefedigaeth Annibynol cyn 1871, yn cynwys, Antiqua, Barbados, Montserrat, St. Christopher, Nevis, Anquilla, Ynysoedd Virgin a Dominica. Yn 1871 pasiwyd fod yr ynysoedd uchod i'w huno oll yn nghyd. 9. Newfoundland, yr hon nad ydyw eto wedi ei chysylldu a chyngrair Canada. 10. Ynys Trinidad. 11. Y Windward Islands, yn cynwys Barbadoes, St. Lucia, St. Vincent, Granada, a Tobago, y rhai a fuont oll yn Drefedigaethau ar wahan.

Affrica a'r cylchoedd.—1. Ascension, yn neheubarth Mor Werydd. 2. Cape of Good Hope a'r tiriogaethau cysylltiedig. 3. Sefydliad Gambia yn ngorllewinbarth Affrica. 4. Gold Coast, sef tiriogaethau a berthynent yn flaenorol i'r Ellmyniaid. 5. Griqualand West, yn neheubarth Affrica. 6. Ynys Lagos, a thiriogaethau ar y cyfandir. 7. Ynys Mauritia, yn nghyd a man ynysoedd eraill yn Mor yr India. 8. Natal, yn Affrica. 9. St. Helena, yn neheubarth Mor y Werydd. 10. Tiriogaethau Sierra Leone, yn ngorllewinbarth Affrica.

Asia.—1. Port of Aden, yn Arabia, ac yn

agos i'r fynedfa i'r Mor Coch. 2. Ynys bwyssig Ceylon. 3. Hong Kong, China. 4. Yr India Ddwyreiniol. 5. Ynys Labuan, yn agos i Borneo. 6. Ynys Perim yn y Mor Coch. 7. Y Straits Settlement, yn cynwys ynys Singapore, Penang a thiriogaethau Malaca a'r Indian Archipelago. 8. Awstralia, yn cynwys saith o Drefedigaethau Annibynol, Ynysoedd Fiji, ac yn ddiweddaf Ynys Cyprus, yn Mor y Canoldir.

Er fod y Gwyddelod yn y Werddon, fel y mae yr Ellmyniaid, neu y Boers yn Transvaal, Affrica, ac ar yr amser presenol trigolion Jamaica, yn yr India Orllewinol, yn hynod o anfoddlon, dan ly wodraeth Lloegr, eto y mae rhesymau cryfion dros gredu eu bod mewn gwell sefyllfa, na phe buasent yn meddu eu hannibyniaeth eu hunain. Mae yn wir fod Lloegr wedi dyfod yn feddianol ar amryw o'r lleoedd crybwylledig mewn dull sydd yn ymddangos yn annheg, ac an-Nghristionogol, sef drwy rym arfau a nerth y cleddyf, ond eto y mae yn ffaith anwadadwy eu bod mewn cyflwr mwy llwyddianus yn awr nag oeddynt cyn hyny. Hefyd y maent yn mwynhau pob rhyddid angenrheidiol i'w gwneyd yn gysurus yn mhob gradd a sefyllfa. Mae yn ymddangos i mi fod gwaith diorphwys Lloegr yn

cymeryd meddiant o wledydd ac ynysoedd fel hyn, yn gwneyd daioni i wareiddiad y byd, ac yn agor meusydd newyddion i feibion llafur. Felly mae nid yn unig yn gwneyd daioni iddi ei hun, ond hefyd i holl wledydd Ewrop. Ac er fod llawer o bethau yn ymddygiad Brydain nas gallaf eu cymeradwyo, gan eu bod yn ymddangos yn hollol annheg, eto, a chymeryd yr oll yn nghyd, gallaf ddweyd gyda Byron,

"With all thy faults I love thee still."

Wedi treulio fy amser yn mhrif ddinas y byd, yn hynod o bleserus, cymerais y gerbydres am Gymru, a theithiais trwy ddyffryn prydferth Llangollen i'r Bala. Yno llogais gerbyd i fy nghymeryd dros yr hen fynydd Migneint i Blaenau Ffestiniog, fy hen gartref; a chyrhaeddais yno erbyn deg o'r gloch, noson y diwrnod y cychwynais o Lundain. Boreu dranoeth, deallais yn fuan nad ydoedd yr hen le yn debyg i'r hyn ydoedd pan oeddwn yn ymadael oddiyno, flynyddoedd yn flaenorol. Yr oedd lleoedd na chynwysent ond ychydig o hen dai gwaelion pan ymadewais, erbyn hyn fel trefydd llawnion a anedd-dai da; a thomenau uchel y chwarelau wedi rhoi ymddangosiad hollol wahanol i'r ardal. Yr oedd rwbel y

chwarelau wedi ymwthio yn mlaen, gan gladdu fy hen gartref, yn nghydag amryw o'r dolydd gwyrddion, lle yr arferwn chwareu gyda chyfeillion boreu fy oes, pan yn fachgen bychan. Wedi myned allan i gerdded yr heolydd, y rhai oeddynt yn llawnion o bobl, ychydig iawn o wynebau adnabyddus i mi a welais; ac wrth holi am yr hen rai a arferwn adnabod, cefais eu bod wedi eu cuddio, lawer o honynt, dan briddellau oerion y dyffryn, ac eraill wedi ymfudo i wledydd tramor, i chwilio am le gwell. Yn y cyfamser, pa fodd bynag, daethym o hyd i amryw o hen gyfeillion fy mebyd, y rhai oeddynt anwyl genyt, ac yn eu plith gallaf enwi Mr. William Jones (*Ffestinfab,*) yr hwn sydd yn llenor poblogaidd, ac wedi bod dros lawer o flynyddoedd yn ohebydd doniol a rheolaidd i'r *Herald Cymraeg.* Hefyd cefais fod yno amryw o hen gyfeillion i mi wedi dychwelyd adref o'r Talaethau Unedig, gan i'r amser fod er's rhai blynyddoedd, yn well yn chwarelau Cymru, nag yn chwarelau America; ac yn wir yr oedd y gangen hono o fasnach yn anghyffredin o fywiog ar y pryd. Yr oedd amryw wedi gwneyd defnydd da o'r amser bywiog, a thrwy ddiwydrwydd a sobrwydd wedi llwyddo i ddyfod i sefyllfaoedd pwysig a pharchus,

mewn cymdeithas a masnach. Yr oedd pawb yn cael cyflogau da, ac nid oedd raid i neb mewn meddiant o iechyd, a gallu i weithio, gwyno dim, canys yr oedd pawb yn cael tal da am eu llafur. Deallais fod y chwarelau wedi newid yn fawr mewn amryw ffyrdd, ac yr oedd rhai yn myned yn fwy diwerth wrth eu gweithio; ond mewn canlyniad i well cynlluniau, a medrusrwydd yr arolygwyr, a'r gofyn da oedd am lechau, yr oeddynt yn talu yn well nag yn yr hen amser, i'r perchenogion ac i'r gweithwyr hefyd.

Rhaid i mi ddweyd yn awr fy mod wedi cael fy moddhau yn fawr yn Nghymru, er na fum yno ond amser byr. Cefais y derbyniad mwyaf gwresog, ac ni anghofiaf byth garedigrwydd pobl Ffestiniog. Bum yn hen Gastell Harlech yn gwrandaw ar gyngerdd ardderchog, dan arweiniad Eos Morlais; ac yno cyfarfyddais a Dr. Joseph Parry (*Pencerdd America*). Digon yw dweyd i mi gael amser da yno. Ymwelais a Bettws y Coed, un o'r lleoedd prydferthaf yn Nghymru; ac mae yn cynyddu yn gyflym. Lleoedd dymunol iawn hefyd ydyw Llanrwst, Rhyl, Conwy, a Bangor, a'r rhai yr ymwelais yn nghwmni Mr. Richard Williams, Cwm Bywydd. Aethym yn nghwmniaeth Mr. W. J. Thomas, diweddar o America,

i ymweled a chwarel fawr Caebraichycafn, lle y gwelais y sugnbeiriant aruthrol sydd yn cael ei weithio gan yr Hydraulic Pressure (Dwfr wasgiad), ac y mae yn ardderchog. Ymwelais hefyd a Llanberis, Caernarfon, a Pwllheli, a man drefydd yr amgylchoedd, yna dychwelais i Liverpool, ar ol rhyw bum' wythnos yn hynod ddedwydd yn Nghymru. Arosais gyda fy chwaer, priod Mr. Robert Parry, diweddar o New York. Synais fod y fath nifer mawr o Gymry yn Liverpool. Mae gan y Methodistiaid Calfinaidd 15 o gapeli yno, ac un o honynt yn enfawr. Yr oedd yn Liverpool, pan oeddwn yno 527,083 o bobl, ac ymddangosai pob peth yn hynod y fywiog. Deallais fod y boblogaeth yn cynyddu yn gyflym; ac yr oedd yno amryw o adeiladau ysblenydd yn cael eu codi yr amser hwnw, yn ngwahanol barthau y ddinas. Gan fod Liverpool yn brif borthladd y byd masnachol, nid oes amheuaeth am gynydd dyfodol y lle.

Wedi treulio wythnos yn Liverpool, cychwynais am Lundain drachefn, a rhaid i mi gyfaddef fy mod wedi ei mawr hoffi pan oeddwn yno yn flaenorol. Wedi taith hyfryd, drwy wlad brydferth, sangais yr ail waith ar balmant prif ddinas y byd, yr hon nad oes ei chyffelyb o ran cyfoeth, masnach a phoblog-

aeth, ar wyneb yr holl ddaear. Rhifedi trigolion Llundain, ar yr adeg, oedd 3,533,484, sef mwy na phoblogaeth yr oll o Scotland, neu gyfartal i boblogaeth Talaeth enfawr Pennsylvania. Ie, gellir dweyd fod poblogaeth Llundain ei hun yn gyfartal i holl boblogaeth Talaethau New England yn nghyd! Mae yn ymddangos mai Belgium yw yr unig wlad sydd yn cynwys mwy o bobl i'r filldir ysgwar nag sydd yn Lloegr a Chymru. Yr oedd ar y pryd yn byw yn Lloegr a Chymru, ar 58,320 o filldiroedd ysgwar, neu 37,324,883 o erwau o dir, 22,712,266 o bobl, sef 389 i bob milldir ysgwar. Ar yr amser dan sylw, yr oedd arwynebedd, nifer yr anedd-dai a phoblogaeth y Deyrnas Gyfunol, fel y canlyn:

| | Erwau o dir. | Nifer y tai anedd. | Y Boblogaeth. |
|---|---|---|---|
| Lloegr | 32,597,398 | 4,009,783 | 21,495,131 |
| Cymru | 4,721,823 | 249,334 | 1,217,135 |
| Lloegr a Chymru | 37,319,221 | 4,259,117 | 22,712,266 |
| Scotland | 19,496,132 | 412,185 | 3,360,018 |
| Werddon | 20,819,829 | 961,229 | 5,411,416 |
| Prydain Fawr a'r Werddon | 77,635,182 | 5,932,531 | 31,483,700 |
| Isle of Man | 145,325 | 9,413 | 54,042 |
| Jersey | 28,717 | 8,738 | 56,627 |
| Guernsey ac eraill | 19,605 | 5,831 | 33,969 |
| Cyfanswm y Deyrnas Gyfunol | 77,828,829 | 5,656,513 | 31,628,338 |

Nid ydyw y cyfrif uchod yn cymeryd i mewn y fyddin a'r llynges, na'r morwyr eraill

oeddynt oddi cartref, nifer y rhai a gyfrifid yn 229,000, yn y cyfanswm. Tra yn Llundain yr ail waith gelwais drachefn gyda fy nghyfeillion, Mri. Taylor a Brooks, a bu ein cyd gyfarfyddiad yn dra dymunol; ond yn mhen chwe diwrnod ffarweliais a hwy, i gefnu ar y brif ddinas ac â Phrydain Fawr, dros beth amser o'r hyn lleiaf. Mae yn Llundain ddau gwmni cyfrifol, yn gofalu am deithwyr i agos bob parth o'r byd; ac mae ganddynt westai yn y prif ddinasoedd, at wasanaeth eu teithwyr yn Ewrop, gwlad Canaan ac yn yr Aifft, yn gystal a thrwy y Dwyrain oll. Mri. Cook & Son, a ystyrir y rhai mwyaf cyfrifol. Mae Cook & Son yn gwerthu tocynau i unrhyw barth, ac os dewisir, bydd y pris yn cynwys trosglwyddiad mewn agerlongau, a thros y rheilffyrdd, yn nghyd a'r holl gostau yn y gwesdai, arweinyddion, ac yn y blaen. Gall y teithiwr benderfynu ar ei holl daith cyn cychwyn, a nodi allan y gwahanol leoedd a ddymuna weled, a'r amser yr hoffa aros ynddynt, yna gall wneyd amcan gyfrif lled gywir o'r holl gostau, hyd nes y dychwel yn ol. Bum yn siarad a llawer o'r teithwyr, ac yr oedd amryw yn cwyno eu bod wedi cyfrif rhy ychydig ar gyfer yr *extras*; ond wedi y cwbl, yr oeddynt yn canmol y cynllun, o herwydd

ei fod yn rhoddi cyfleusderau i weled pob man, ac am eu bod yn cael eu diogelu rhag ysbeilwyr diegwyddor. Gan nad oedd genyf fi amser penodol i aros mewn unrhyw le; a fy mod ar y pryd heb wneyd fy meddwl i fyny yn mha le yr aroswn gyntaf, prynais docyn yn annibynol ar bawb, o Lundain i Paris, prif ddinas Ffrainc, i ddechreu fy nhaith.

Cychwynais o Orsaf Pont Llundain yn nghwmni amryw o ganoedd oeddynt ar eu ffordd i'r Arddangosfa fawr yn Paris, a'r nifer fwyaf dan nawdd Cook & Son; ond yr oedd fy ngwyneb i yn mhellach, sef i'r Dwyrain, yr Aifft, Cyprus, &c. Cariwyd ni yn gyflym i Newhaven, lle yr oeddym i gymeryd yr agerlong i groesi y sianel i Dieppe, Ffrainc. Yr oedd yr hwrli-bwrli y fath yn y fan hono, fel nad oedd modd cael trefn ar ddim, ac ni chafodd haner yr ymdeithwyr welyau, er fod llawer yn meddu tocyn o'r radd flaenaf. Er nad oedd gwelyau ar gyfer ein haner, llwyddais i gael lle i orphwys; ond nid oedd yn deilwng o'r enw gwely. Buom dros chwe' awr yn croesi i Dieppe. Cymerasom y gerbydres yno i fyned drwy wlad hynod o brydferth, yn nghyfeiriad prif dref ffasiynau y byd. Ni chymerodd dim neillduol le ar y daith; ac yn y cyfamser cludwyd ni i mewn drwy y porth

yn y mur mawr, ac wele ni oll yn cael myned allan megys yn nghanol y ddinas.

Gan nad oedd genyf ond pum' diwrnod o amser i aros yno, ymdrechais weled yr oll a allwn. Rhoddais i fyny yn yr Anglo-American Hotel, 113 Rue Saint Lazare, lle yr oedd llawer o Americaniaid; ac yno cyfarfyddais a fy hen gyfaill, J. D. Blake, o Nashville, Tennessee. Deallais yn fuan y gallaswn fyw yn Paris yn rhatach pe codaswn docynau Cook & Son, gan fod eu prisiau yn dra rhesymol. Hefyd yr oedd eu trefniadau i ddangos holl ryfeddodau y ddinas yn hynod o berffaith. Aethym i swyddfa Cook & Son, a gwnaethym gytundeb i fyned gyda'u teithwyr am y tri diwrnod cyntaf, i weled y golygfeydd. Cymerwyd deg o honom mewn cerbyd mawr agored, ar ben blaen yr hwn yr oedd yr arweinydd yn barod i ddangos pob man, ac i ateb unrhyw ofyniad. Wedi cyrhaedd unrhyw le o nodwedd neillduol, byddai yr arweinydd yn neidio i lawr i egluro y cwbl mewn iaith dda a deniadol, nes difyru pawb. Dynion tra doniol yw yr arweinwyr braidd bob amser. Yr oeddym yn brysur o naw o'r gloch y boreu hyd saith yn yr hwyr, yn gweled y rhyfeddodau; a chymer o chwech i saith diwrnod, o waith caled fel hyn i weled prif ryfeddodau

Paris! Pa fodd bynag, cefais i weled llawer iawn mewn tri diwrnod, dan arweiniad gwasanaethyddion Cook & Son. Treuliais y gweddill o fy amser, i syllu ar ryfeddodau afrifed yr Arddangosfa fawr; ac yn wir yr oedd yn ardderchog. Yno yr oedd gwaith celfyddyd, a rhyfeddodau natur o bob parth o'r byd wedi eu crynhoi yn nghyd, yn dangos y cynydd mawr yn y celfyddydau a'r gwyddorau. Yr oedd Lloegr a'i threfedigaethau yn cael sylw mawr, yn enwedig Australia, oedd yn dangos arwyddlun colofn o'r aur a godwyd o'i daear o'r dechreu hyd yr amser hwnw, yr hwn wedi ei grynhoi yn nghyd a wnaethai golofn yr un faint a'r un oedd yn ei gynrychioli yn yr Arddangosfa. Yr oedd y golofn yn cyraedd o'r llawr i fyny i ben yr adeilad uchel hwnw. Yr oedd llawer iawn o edrych ar yr anrhegion a gafodd Tywysog Cymru yn India. Yr oedd oriel yr arluniau tu hwnt i bob desgrifiad, a gwelais y gwaith goreu o bob parth o'r byd.

Nid amcanaf fanylu ar yr holl ryfeddodau. Nid oedd yr amser a gefais ond megys diddim i edrych ar yr oll oedd yno; ond prysurais yn ol erbyn chwech yr un diwrnod, fel y gallwn fyned unwaith i gael golygfa ar y Grand Opera. Erbyn myned at y chwareudy hynod

hwnw, cefais ei fod mor llawn fel nad oedd yno le i neb arall. Dylaswn fod wedi prynu tocyn erbyn y noson hono bythefnos yn mlaen llaw; ac yr oedd pob eisteddle wedi ei sicrhau am bythefnos i ddyfod; gan hyny nid oedd gobaith i mi gael myned i mewn i brif chwareu-dy y byd. Yn y fan hon, y mae celfyddyd wedi dyfeisio ffordd i wneyd y nos agos mor oleu a dydd, trwy y goleuni trydanawl, ac yn briodol gellir cyfrif y Ffrancod ar y blaen gydag addysg, darganfyddiadau a gwybod-aethau gwyddonol.

Diau fod Paris, ar gyfrif ei hadeiladau gor-wych, ei sefydliadau addysgiadol, gwyddorol, celfyddydol, ei ffasiynau a'i phrydferthwch, yn tra rhagori ar holl ddinasoedd y byd; ond er hyny cefais fy siomi mewn rhai pethau yn-ddi. Nid ydyw y Boulevards (heolydd llyd-ain) mor brydferth a dymunol ag y dys-gwyliais iddynt fod. Mae yn wir eu bod yn llydain a glan iawn; ond y mae y coed ar yr ochrau wedi tyfu yn afreolaidd, rhai yn fyrion, ac eraill o honynt yn hirion. Maent wedi eu gosod yn rheolaidd ac union, ond ni chawsant oll yr un dyfnder daear, neu yr un gwrtaith i dyfu. Yn hyn y mae Lyons a Marseilles yn rhagori ar Paris, gan fod y coed yno oll yn unffurf. Yr hyn a fy moddhaodd fwyaf yn

Paris, oedd esgyn i fyny i ardaloedd y cymylau mewn *balloon* anferth, o'r lle y gwelais y golygfeydd mwyaf ardderchog, fe ddichon ar wyneb y ddaear. Yr oedd y golygfeydd tu hwnt i fy ngallu i'w darlunio—ie, yr oeddynt i mi yn annhraethadwy ysblenydd.

Ond gadewais ddinas ardderchog y ffasiynau, a chychwynais am Lyons, pellder o 326 o filldiroedd, ac aethym drwy wlad baradwysaidd, a llawer o ddinasoedd ardderchog ar y ffordd. Dyma brif ddinas gelfyddydol Ffrainc, lle gwneir sidanau, a mil o bethau eraill. Yno mae y ddwy afon Seine a'r Rhone yn cyd-gyfarfod, ac mae y ddinas yn cynwys 342,851 o bobl. Arosais yno dros nos, ond nid oedd genyf amser i weled llawer o ryfeddodau y ddinas. Mae yno nifer o Saeson yn byw, a chapeli, lle yr addolir yn y Saesonaeg; eithr ni chlywais air o Saesonaeg na Chymraeg ar fy holl daith o Paris i Marseilles, pellder 600 o filldiroedd. Rhaid i mi ddweyd, pa fodd bynag, fod y Ffrancod oeddynt yn cyd-deithio â mi yn hynod o garedig wrthyf, ac yn rhoddi pob hyfforddiant yn eu gallu i mi. Yr oedd yr olygfa ar y wlad yn ddymunol dros ben; ac mae yn ymddangos ei bod yn ffrwythlon ryfeddol. Daethym drwy Orange, o'r lle y cafodd William III. ei deitl, Prince of Orange, a

chartref y Pabau o 1309 i 1378. Yr oedd perllanau a gwinllanoedd ffrwythlon ar bob llaw yn ddidor hyd nes y daethom o fewn 30 milldir i Marseilles, ac wedi hyny nid ydyw y wlad yn llawer gwell na diffaethwch. Er fod y ddinas hon yn cael ei hamgylchu gan fryniau diffrwyth, y mae yn ddinas ardderchog wedi'r cwbl; a choed dymunol yn ffurfio cysgodion dros y *sidewalks*, ar y rhai y mae cadeiriau, ac esmwyth-feinciau, fel y gall yr ymdeithwyr orphwys pan fynont, a hyny heb dalu i neb. Mae y *cafes* yno yn cael eu cario yn mlaen ar raddfa helaeth. Mae y parwydydd yn ddrychau (*looking-glasses*) o'r top i'r gwaelod, ac felly y nen uwchben. Hefyd y mae mân goed a pherthi bythwyrddion yn tyfu mewn llestri ar hyd y lloriau yn mhob cyfeiriad, yr hyn sydd yn eu gwneyd fel gerddi blodeuog, amryliw, yn llawn o'r arogl mwyaf dymunol, yn codi oddiar y rhosynau a'r pwysiau. Dyna le ardderchog i un fwynhau ei hun, ac ymbleseru yn nghanol pob peth sydd ddymunol i'r llygad a pheraidd i'r ffroenau. Un boreu aethym i weled yr Eglwys Gadeiriol, ac i ben bryn uchel y tu allan i'r ddinas, o'r lle y cefais olygfeydd ysblenydd; ac yn enwedig Mor y Canoldir, yr hwn sydd yn y golwg am bellder mawr yn mhob cyfeiriad.

Mae yno borthladd rhagorol, a digon o le i 2,000 o longau o bob maintioli. Poblogaeth y ddinas yw 320,400; a hwn yw prif borthladd Mor y Canoldir, ac mae y ddinas yn un o'r rhai prydferthaf yn Ffrainc.

YSTADEGAU FFRAINC.

| Amser y Ddeiliadeb. | Milldiroedd Ysgwar. | Poblogaeth. | Cyfartaledd y Boblogaeth i'r Fill. Ysgwar. |
|---|---|---|---|
| Mai, 1866 ............ | 207,480 | 38,067,094 | 183 |
| Mai, 1872 ............ | 201,900 | 36,102,921 | 178 |
| Rhagfyr, 1876 ........ | 201,900 | 36,905,788 | 180 |

Mae y cyfrifiad diweddaf yn dangos fod cynydd yn y boblogaeth.

Codais docyn o Marseilles i Rufain, Itali. Aethym trwy Nice, Genoa, Florence, a threfydd mawrion eraill, pob un o'r rhai ydynt wedi gwneyd eu lle mewn hanesyddiaeth. Tref ardderchog yw Genoa, yn cynwys 130,269 o drigolion, ac yn hynod yn ei gwaith celfyddydol. Hefyd, dywedir mai Genoa oedd cartref boreuaf Columbus. Rhwng Genoa a Florence, ac hefyd i Rufain, yr oedd pob peth ar y daith yn profi fy mod yn y *sunny Italy*, ac yr oedd y wlad yr adeg hono ar y flwyddyn yn ei gwisgoedd goreu. Er na chefais ond ychydig amser yn Florence, eto cefais weled llawer o bethau o ddyddordeb eithr; ni chaniata gofod yma i fanylu arnynt. Yr oedd y

daith o Florence i Rufain trwy wlad ddymunol a thra phoblog, pentrefydd henafiaethol yr olwg arnynt i'w gweled ar bob llaw; ac o'r diwedd arwyddion ein bod yn agosau i'r hen Rufain, gan fod y rhan fwyaf o'r teithwyr yn rhoddi eu penau allan trwy y ffenestri, er cael golwg ar ei muriau. Ac yn mhen ychydig amser yr oeddym wedi myned oddimewn iddi, ac aethym mewn cerbyd i'r Anglo-American Hotel, yr hon yw y ddewisol Hotel yno, ac a gedwid gan un Mr. Cook, er fod ganddo *interest* mewn tair eraill yn y ddinas hono. Cefais mai yno yr oedd pedwar o foneddwyr a ddaethant ar yr un trên a minau o Florence wedi rhoddi i fyny, oll o America. Ymunais â'r boneddwyr hyn i logi cerbyd ac arweinydd i'n cymeryd o amgylch i weled Rhufain a'i hamrywiol ryfeddodau, yr hyn a gymerodd i ni bedwar diwrnod. Cawsom ein boddloni yn fawr wrth weled cywreinrwydd yr hen Rufeiniaid yn y celfyddydau cain, cerfluniau, addurniadau, ac yn y blaen. Mae eglwysydd cadeiriol St. Pedr a St. Paul yn rhyfeddodau ynddynt eu hunain, a rhaid eu gweled cyn y gellir ffurfio drychfeddwl priodol am eu harddercha wgrwydd. Eglwys Gadeiriol St. Pedr, a berthyn i'r Pabyddion, ydyw yr adeilad mwyaf yn y byd; ac mae eglwys fawr St. Paul,

yn Llundain, yn myned yn hollol i'r cysgod yn ei hymyl. Yr oeddwn yn meddwl pan yn Llundain ychydig yn ol, yn syllu ar ryfeddodau yr eglwys gadeiriol yno, fy mod yn edrych ar yr harddaf a'r fwyaf mawreddog ar wyneb y ddaear; ond erbyn dyfod i Rufain, a myned i mewn i eglwys St. Peter, gwelais fy mod wedi cael fy ngham-arwain yn gwbl. Ar y llawr yn eglwys St. Pedr, y mae arwyddluniau yn dangos maintioli amryw o brif eglwysydd y byd; ac mae eglwys St. Paul, Llundain, yn nesaf mewn maintioli i St. Paul, Rhufain, ond y maent oll yn syrthio o'r golwg wrth eu cydmaru ag eglwys St. Pedr, yr hon sydd yn sefyll ar wyth erw o dir. Nid ei mawredd yn unig sydd yn ei gwneyd yn hynod, ond y mae y gwaith nerthol, cywrain ac addurniedig ar yr adeilad oddi mewn ac allan, yn ei gosod o flaen pob un arall yn y byd. Mae ei harwynebedd yn 216,586 o droedfeddi ysgwar, a chostiodd £10,000,000, neu 50,000,000 o ddoleri. Hefyd, y mae yr eglwys yn costio £6,300 yn flynyddol i'w chadw i fyned yn mlaen, ac mewn adgyweiriad priodol. Sylfaenwyd St. Peter gan Constantine, yn ol dymuniad y Pab Sylvester I., yn y flwyddyn 326, ar y llanerch y dywedir i lawer o'r Cristionogion gael eu merthyru, ond ni orphen-

wyd y gwaith yn foddhaol, yr amser hwnw. Nicholas V. gymerodd mewn llawn i'w hail adeiladu, yn ol cynllun Florentine Bernardino Rossellini; ond ataliwyd y gwaith eto am haner can' mlynedd, pryd yr adnewyddwyd ef gan Julius II., yr hwn a roddodd y cwbl i fyny i Bramante, yr hwn fu yn llwyddianus iawn hyd ei farwolaeth, pryd y trosglwyddwyd y gwaith i Raphael, Michael Angelo, ac eraill o'r dynion nodedicaf a flodeuasant erioed ar y ddaear, yn y cangenau hyny o wybodaeth. Gorphenwyd yr adeilad yn y flwyddyn 1626, dan arweiniad Urban, ac yn ddiweddaf oll gan Bernini; ond gwneir rhyw welliantau arni yn barhaus. Aethom drwyddi oll ond y nenfwd, yr hon sydd yn 500 troedfedd o uchder. Dywedodd yr arweinydd anwiredd wrthym, sef na oddefid i ni fyned i ben y nenfwd y diwrnod hwnw; ond rhy ddiog i ddringo i fyny ydoedd, fel y deallasom wedi hyny. Cawsom ein boddloni yn St. Pedr tu hwnt i ddesgrifiad, ac felly yn St. Paul, yr hon sydd wedi ei gwneyd o farmor, gallem feddwl. Mae ynddi y cerfluniau marmor goreu, a chof-adeiladau, &c. Mae yn Rhufain 363 o eglwysi, ac ymwelsom â rhai dwsinau o honynt—un o honynt mor sanctaidd fel na chaem fyned iddi ond ar ein gliniau; a thrwy fod grisiau lled

uchel i'w dringo, a dychwelyd ar ein gliniau, yr oeddwn i yn tystio mai dyma y tro cyntaf a'r diweddaf fyddai i mi bresenoli fy hun yno yn y dull hwnw. Yr oedd pob un o honynt yn werth myned yno i'w gweled, o herwydd prydferthwch celfyddydwaith, y cerfluniau a'r arluniau. Mae yno aneirif ryfeddodau i'w gweled yn egluro hanesyddiaeth o amser Crist hyd y flwyddyn bresenol.

Talasom ymweliad ag adeilad ardderchog y Pab, sef y Vatican, ac yno gwelsom fwy o ryfeddodau nag a ellir ddychymygu heb eu gweled. Palas gor-ardderchog ydyw, ac yno yr oedd yr arluniau gwreiddiol i'w gweled, ydynt yn rhagori ar bob rhai eraill. Mae y Vatican yn 1,151 o droedfeddi o hyd, 767 o droedfeddi o led, yn cynwys 4,422 o ystafelloedd, 20 o neuaddau (*courts*), 8 o brif risiau llydain ac ardderchog, yn nghyd a 200 o fân ystafelloedd.

Wedi synu ar ryfeddodau ystafelloedd y Pab, ac edmygu ei balas paradwysaidd, aethom i weled yr amgueddfa sydd yn perthyn iddo, lle y mae prif gerfluniau ac arluniau meistriaid penaf y gelfyddyd gywrain hono; ac yr oedd y cwbl yn llanw y llygaid a'r darfelydd â rhyfeddodau tu hwnt i bob desgrifiad.

Penderfynasom fyned i weled y *Catacombs*, sef hen gladdfa dan-ddaearol, lle mae esgyrn miliwnau o'r hen Rufeiniaid i'w gweled, a'r rhai fuont fyw yn y ddinas sanctaidd o amser Crist hyd yn awr. Hwn yw y lle rhyfeddaf y gall neb ddychymygu am dano. Buom yno yn mhlith esgyrn y meirw dros amser maith, y rhai ydynt ar bob llaw yn y mynedfeydd, ac uwchben hefyd. Wedi dyfod allan, yr oedd yn rhaid myned i weled yr hen *Coloseum*, ac aethom i'r top uchaf o'r hyn sydd yn sefyll yn awr, ac yr oedd golwg anferth ar yr oll. Dyna hen chwareudy nodedig Rhufain gynt, lle gallai can' mil o edrychwyr eistedd. Dyna chwareudy iawn, onide? Paham y sonir mai yn awr y mae mawredd mwyaf cenedloedd y byd yn bodoli?

Y peth nesaf a dynodd ein sylw oedd y *fountains* ardderchog, o'r rhai y tardda dwfr grisialaidd; ac mae y cerfiadau a'r arluniau arnynt yn ddigon ardderchog i dalu am yr holl gost i fyned mor bell i'w gweled. Mae yr hen adfeilion ardderchog a welir yn barhaus ar bob llaw, yn dwyn ar gof yr ymwelydd y bu Rhufain yn lle ysblenydd yn yr hen amser. Gallem feddwl oddiwrth luosogrwydd y cerfluniau o bob math, ar bob adeilad, nad oedd yn fawr o orchwyl i'r hen Rufeiniaid

gerfio delw o ddyn neu ddynes, neu angel, neu ryw wrthrych arall, a'u rhoddi yn byst ac yn gapau i'r drysau, ac yn ystlysau i'r ffenestri, canys cerfluniau apostolion, seintiau ac angylion, a welir ar braidd bob un o'r hen adeiladau. Hefyd, y mae eu harluniau paentiedig yn lluosog a rhyfeddol iawn, fel y gallem feddwl nad oedd y bobl yn gwneyd nemawr ddim arall. Cefais fy rhyfeddu yn fwy yn Rhufain, wrth edrych ar waith celfyddydwyr yr hen amser nag yn un lle arall, a rhaid eu gweled cyn y gellir dychymygu yn iawn am danynt.

Ond wedi y cwbl, er yr holl ardderchawgrwydd a'r cyfoeth di-ben-draw sydd i'w weled mewn eglwysi, palasau, ac adeiladau ereill, yn Rhufain, a holl ddinasoedd mawrion Itali, mae mwy o gardota a thlodi i'w weled oddiallan iddynt nag yn un rhan o'r byd gwareiddiedig, y bum ynddo o'r blaen. Byddai rhesi o gardotwyr yn ein dysgwyl allan o bob lle yr ymwelem ag ef, felly byddem yn disgyn ar unwaith o ganol cyfoeth diderfyn i grafangau tlodi bythol. Rhaid bod rhywbeth o'i le. Poblogaeth Rhufain y pryd hwnw ydoedd 244,484.

Wedi canu yn iach â'r cyfeillion yn Rhufain, llogais gerbyd i'm cario i orsaf y rheil-

ffordd, a chodais docyn i Naples. Yr oedd amser y trên i gychwyn ddeg o'r gloch yn yr hwyr. Pan ddaeth yr amser i fyny, neidiais i'r cerbyd, gan feddwl fod pob peth yn *all right* am Naples. Cychwynodd y gerbydres yn ddioedi, yna amcenais roddi fy hun mewn sefyllfa oreu y gallwn am gwsg, a chefais lonyddwch hollol hyd tua saith o'r gloch boreu dranoeth, pryd y daeth y *guard* i mewn i edrych y tocynau. Gwelais ar unwaith wrth ei wynebpryd, a'r geiriau mawrion a lefarai yn yr iaith Italaidd, fod rhywbeth heb fod yn iawn gyda'm tocyn; ac er fy mawr helbul, gan nas gallai neb yno siarad ond ychydig eiriau o Saesoneg, deallais fy mod o fewn deng-milldir-ar-hugain i Florence eto, yn lle bod yn Naples. O Rufain, mae Florence i gyfeiriad gogleddol, a Naples i gyfeiriad deheuol. Wel dyma gamgymeriad! Nid oedd dim ond gwneyd y goreu o'r gwaethaf, ac aethym i a'm paciau i lawr yn y pentref cyntaf, yr hwn oedd bentref mawr, mewn lle toreithiog a phrydferth; ond nid oedd neb o'i fewn yn gallu siarad gair o Saesoneg, ac nid oeddwn inau yn gallu siarad ond ychydig eiriau yn eu hiaith hwythau: ac ni fuasai waeth i mi fod yn nghanol Affrica na bod mewn gwlad wareiddiedig, heb ddeall ein gilydd. Y peth cyntaf oedd arnaf eisiau

ei wybod oedd, pa bryd y cawn y trên i fyned i Rufain; ond trwy gymorth geiriadur bychan o'r Italaeg a'r Saesonaeg oedd genyf yn fy llogell, llwyddais i gael gwybodaeth o hyn oll gan feistr yr orsaf. Yr oedd y trên i fod yno am naw yn yr hwyr, ac felly i gyraedd Rhufain yn y boreu. Y peth nesaf ar fy meddwl oedd, a fyddai yn rhaid i mi dalu am fyned yn ol, ai na fyddai? Yr oeddwn o'r farn na fyddai, o herwydd yn America a Phrydain mae yn rheol i unioni camgymeriad o'r fath yn rhad. Ond dangosodd yr orsaf-feistr i mi y geiriau, "*You must pay*," yn y geirlyfr. Llwyddais i roddi ar ddeall iddo y byddai i mi ymweled a'r Trafnoddydd Prydeinig pan yr elwn yn ol i Rufain; ac yn mhen ychydig amser ar ol hyn dangosodd i mi y geiriau, "*You can go free.*" Mae pobl o'r fath yn mhob man, a mwy o ofn Trafnoddydd arnynt na neb arall. Ar ol hyn aethum i Hotel i ymofyn boreufwyd, ac yno tarewais ar fachgen ieuanc golygus yr olwg arno, yn cynyg ei hun fel *guide;* ac er na fedrai Saesoneg, eto trwy gymorth eu geirlyfr yr oeddym yn deall ein gilydd yn lled ryfedd, ac aethym gydag ef, a dangosodd i mi bob peth, fel y gallwn feddwl, yn y dref, yn ddrwg ac yn dda. O'r diwedd daeth y trên, a chefais mai yr un trên

a'r un *conductor* ydoedd a'r hwn y daethym gydag ef. Ymddangosai y *conductor* mewn tymer dda, ac fel pe buasai yn gofidio o herwydd fy anffawd; a phan y cyraeddasom Rufain yn y boreu, daeth gyda mi at swyddogion yr orsaf i egluro pob peth, fel na chawn drafferth i fyned gyda yr un tocyn y noswaith hono i Naples. Felly dyma fi unwaith eto oddimewn i furiau Rhufain, a threuliais y diwrnod hwnw wrth fy modd. Wedi myned i'r orsaf, cefais fod y trên i Naples a Florence yn cychwyn yr un amser, a dyna yr achos o'r camgymeriad blaenorol. Yr unig le y cefais drafferth oedd wrth ei roddi i fyny yn Naples, a hyny o herwydd ei ddyddiad. Ond aeth pob peth heibio yn ddidraul i mi.

Ar ol cyraedd Naples, cymerais gerbyd i'r *Grand Hotel Noble*, yr hwn sydd yn westdy ardderchog, ond braidd yn anghyfleus i'r dref, ac yr oedd y pris yn rhy *grand* a *noble* i mi aros yno yn hir. Mor fuan ag y cefais foreufwyd, cymerais y gludres am hen ddinas henafol Pompeii, yr hon sydd wrth odreu y mynydd tanllyd Vesuvius, ac a gladdwyd yn ddwfn gan sylwedd berwedig a fwrlymiwyd allan o grombil y mynydd ddeunaw cant o flynyddoedd yn ol. Ni fu ond ychydig yn alluog i ddianc, a chladdwyd yr holl bobl er-

aill mewn ychydig fynydau. Bu y rhai a ddiangasant yn alluog i adfeddianu llawer o'r trysorau, ac yn y cyfamser adeiladwyd tref arall, heb fod yn mhell o safle y llall; ond yn y flwyddyn 472 claddwyd hono hefyd gan sylwedd a fwrlymiwyd o'r mynydd. Mae Vesuvius yn parhau i fygu o'r amser hwnw hyd heddyw; ac ar rai adegau cymer ffrwydriadau erchyll iawn le, a chwythir i fyny o grombil y mynydd hylif tanllyd, a fflamau aruthrol, nes goleuo yr holl wlad. Bydd y ffrwydriadau ar rai adegau mor nerthol yn y mynydd, nes crynu yr holl ddaear oddiamgylch. Yn 1872, torodd mwg a thân allan o'r mynydd trwy bedwar o wahanol dyllau, ac yr oedd y twrf yn ddychrynllyd, fel pe buasai mil o daranau mewn ymrysonfa. Chwythid hylif tanllyd a meini poethion i'r entrych, ac i'r pellder o ugain milldir oddiwrth y mynydd. Ni laddwyd ond 60 o bersonau y tro hwnw. Yr oedd y ddaear yn crynu i bellder mawr o ffordd, a ffodd y bobl am eu bywydau. Mae y mynydd i'w weled yn amlwg o Naples, a mwg yn ymddyrchafu o hono, ac yn y nos y mae y goleuni o hono yn goleuo yr holl wlad o'i amgylch: Nid oedd genyf ddigon o amser i fyned i'w ben, neu mor agos i'w safnau ag y caniatai y gwres i mi fyned.

Gwelais lawer iawn o bethau hynod yn hen ddinas Pompeii, er nad ydyw ei heolydd oll wedi eu clirio eto. Wedi i'r ddinas gael ei chladdu, aeth yn raddol o gof y trigolion, fel nad oedd hyd yn nod ei safle yn adnabyddus. Yr oedd crybwylliadau am dani yn ysgrifau hen haneswyr boreuol. Yn y flwyddyn 1750, fel yr oedd gweithwyr mewn gwinllan yn tirio i'r ddaer am ddwfr, daethant at nen adeilad, yr hyn a arweiniodd i ddarganfyddiad y ddinas. Mae yno chwareudy enfawr, yn cynwys 35 o resi o eisteddleoedd. Maent yn adgyweirio y chwareudy yn awr, a bydd yn barod i'w ail agor yn fuan. Dyma beth rhyfedd, onide? Ail agor chwareudy wedi iddo fod yn gauedig dros ddeunaw cant o flynyddoedd! Mae amgueddfa Naples yn cynwys yr arluniau, y cerfluniau a'r pethau hynod a gaed yn y ddinas gladdedig. Oddiwrth yr olion hyn, ceir gweled chwaeth a gwareiddiad y bobl yn yr oes hono, ac mae yn eglur iawn fod mwy o ddrygioni yn myned yn mlaen yn yr amser hwnw nag sydd yn awr. Mae llawer o'r arluniau a gaed yn Pompeii yn rhy aflan ac anweddaidd i'w dangos i bawb yn gyhoeddus; ond cefais eu gweled drwy ffafriaeth neillduol.

Dinas ardderchog ydyw Naples, yn cynwys

450,000 o bobl; ond mae ei heolydd yn rhy guilion o lawer iddi fod yn brydferth. Aethym i weled y chwareudy, sef un a gyfrifid yn un o'r rhai ardderchocaf y byd, ac y mae yn odidog dros ben. Hefyd ymwelais a thri o'r prif addoldai, lle mae cyflawnder mawr o arluniau a cherfluniau, o waith y talentau mwyaf ardderchog a welodd y byd erioed. Mae y cofgolofnau a'r cerfluniau mewn marmor, yn arddangos seintiau ac angylion yn ysblenydd. Nifer poblogaeth Itali, ydoedd 26,801,154, y rhai oeddynt yn byw ar arwynebedd o 114,296 o filldiroedd ysgwar, neu 235 o bersonau i'r filldir ysgwar. Hyd holl reilffyrdd y deyrnas yn nghyd oedd 4,817 o filldiroedd.

Er's rhai blynyddau mae perffaith ryddid i bob math o grefyddau fodoli yn Itali ; ond o'r holl boblogaeth trwy y deyrnas mae mwy na 99½ y cant yn Babyddion. Yr ychydig weddill ydynt Brotestaniaid ac Iuddewon. Buasai yn dda genyf pe cawswn fwy o amser i'w dreulio yn nghylchoedd Naples, ond dydd Sadwrn aethym ar fwrdd un o agerlongau Messgerus & Co., sef llinell o agerlongau Ffrengig, oedd i alw yn Alexandria, yn yr Aifft. Cefais fod ar fwrdd yr agerlong deithwyr yn cynwys Ffrancod, Italiaid, Groegiaid ac Arabiaid. Wedi edrych oddiamgylch dros

amser, deuais o hyd i Ffrancwr oedd yn gallu siarad Saesonaeg da, yr hwn oedd yn dychwelyd i'r Aifft, fel llawer eraill, ar ol bod ar ymweliad a'r Arddangosfa yn Paris. Dyn caredig ydoedd hwn, ac yr oedd yn awyddus am roddi i mi bob cyfarwyddyd yn ei allu, am y pethau oeddwn yn weled ac yn glywed ar y fordaith. Boreu Sabboth daeth mynydd tanllyd Etna, ar ynys Sicily i'r golwg, ac yr oedd yn ymddangos yn fawreddog dros ben. Mae Etna i'w weled o bellder mawr, ac ar yr adeg yr oedd yn mygu, ac yn fflamio nes goleuo yr holl amgylchoedd. Y boreu Sabboth tawel hwnw, yr oedd golwg hynod o ddymunol ar lanau yr ynys ffrwythlon hono; ac yr oedd yr holl deithwyr ar y dec yn foreu yn tremio ar y golygfeydd rhamantus hyny. Ni fuom yn hir cyn myned allan o Gulfor Messina, ac yn fuan yr oedd ein hagerlong yn aredig Mor y Canoldir. Ar y pryd yr oedd Mor y Canoldir yn dawel fel llyn hwyaid yn nghanol gwlad. Erbyn boreu Mawrth yr oeddym yn hwylio heibio ynys hirfain Candia, yr hon oedd ar ein hochr chwith; a dydd Mercher daeth glanau tywodlyd gwlad yr Aifft i'r golwg, ac yn fuan wele ganoedd o felinau gwynt yn amrywio y golygfeydd. Yn fuan moriasom i mewn i gysgod y dwfrglawdd, yr hwn

oedd ar gael ei orphen ar y pryd, dan arweiniad Sais o Loegr. Yr oedd nifer mawr o longau ac agerlongau o'n hamgylch, a hen ddinas Alexandria yn ymddangos yn ei godidogrwydd, gyda cholofn Pompey yn ymddyrchafu goruwch yr holl wrthrychau amgylchynol. Yn fuan ar ol ein dyfodiad i mewn, daeth lluoedd o'r Aifftiaid mewn cychod at ein llong i geisio pawb a allant eu cyrchu i'w tai; ond gan fod cwch yr *Hotel de Europe*, wedi dyfod i gyrchu y perchenog adref, aethym gyda hwnw i'r *hotel* lle y cefais ymborth a gwely da. Hon yw yr *hotel* oreu yn Alexandria; yno yr arosodd y Prince of Wales; y mae yn y lle mwyaf dymunol ar y Grand Square, a gwnaeth y perchenog fi yn gydnabyddus a phersonau o fri. Ar ol cael ymborth, llogais asyn i fyned i weled y Pompey Piller; a thrwy fod y creaduriaid hyny yn rhai bach bywiog, ac heblaw hyny yn cael eu curo yn mlaen gan *dragoman*, ni chymerwyd fawr o amser i mi i wneyd y trip. Y mae llawer o bethau yn Alexandria sydd yn haeddu crybwylliad. Y mae yn hynod ar gyfrif ei henafiaeth. Strabo a ddywed fod yr hen Alexandria "yn naw milldir o amgylchedd, 304 o flynyddoedd cyn Crist." Tua'r amser hwnw y rhoddwyd y *Pharaoh Watch-tower* i fyny, yr hwn a gyfrifid ganddynt ar yr amser

yn un o saith rhyfeddodau y byd. Rhyw adeilad mawr ysgwar oedd hwn, wedi ei wneyd o farmor gwyn. Ar ei dop llosgid tân yn barhaus, i fod yr amser hwnw fel arwyddnod i'r morwyr. Sylwais fod yno fath o ddrychau tra hynod wedi eu rhoddi i fyny yn y fath fodd, fel y gellir gweled adlewyrchiad gwrthrychau, a llongau yn y culfor, y rhai y gellir eu gweled felly yn fwy amlwg, nag wrth edrych i'r mor ar y llongau yn nofio y tonau. Costiodd yr adeilad tua 200,000*p*; ond cawn Alexandria wedi hyn yn cael ei dyfetha gan Ptolemy, Physcion, &c., pryd y diangodd o'r bron yr holl ddysgedigion i Groeg, ac Asia Leiaf, &c. Dygwyddodd hyny tua 141 mlynedd cyn Crist. O'r amser hwnw hyd yr amser y cymerwyd y dref gan Amrou, ni fu llawer o drefn arni. Cawn, beth bynag, fod Amrou wedi cael ei ryfeddu oblegid ardderchogrwydd Alexandria, ac ysgrifenodd at Caliph yn debyg i hyn: "'Rwyf wedi cymeryd Tre' y Gorllewin; mae ei maint mor anferth fel nad allaf roddi dychymygiaeth o honi. Mae ynddi 4,000 o balasdai, a 4,000 o ymolchfeydd (*baths*), 12,000 delors o *fresh oil*, 40,000 o Iuddewon yn talu teyrnged, yn nghyd a thros 400 o chwareudai," &c. O'r amser hwnw hyd y flwyddyn 924, delid Alexander gan y Cal-

iphs. Yn yr amser hwnw, syrthiodd i law y Magribians. Ond cawn fod Alexandria wedi cael codwm andwyol eto yn y flwyddyn 1490, pan ddarganfyddodd y Portugeaid eu ffordd i India'r Dwyrain heibio y Cape of Storms, yn awr Cape of Good Hope. O'r amser hwnw hyd yr amser yr agorwyd y Suez Canal bu Alexandria ar lawr. Rhoddodd hyn help llaw i'r hen ddinas i godi o'r llwch eto; ac o herwydd ei sefyllfa fel porthladd rhwng y byd gorllewinol a'r byd dwyreiniol, mae yn ddiameu y bydd iddi ddal i gynyddu, ac i fod fel o'r blaen yn lle cyfrifol yn hanes y dydd. Y mae Alexandria yn meddu ar heolydd da, a phob peth i'w weled yn y ffenestri yn debyg fel y gwelir mewn rhanau eraill o'r byd gwareiddiedig—llawer o bob cenedl i'w cael yno, yn enwedig Ffrancod, Iuddewon, Groegiaid, Italiaid, &c.

Mae yn dra hysbys i'r darllenwyr y bu yr Aifft yn yr oesoedd boreuol y flaenaf yn mhlith holl wledydd y byd, mewn gwareidd iad, dysgeidiaeth a chelfyddydwaith. Mae ei phigdyrau enfawr, a'i gweithiau cywrain, yn profi ei chyfoeth a'i mawredd cyntefig.

Pan yn Nghymru, cymerais ddyddordeb mawr yn ynys Cyprus, o herwydd fod pob hanes a welais yn y newyddiaduron yn hynod

ffafriol am dani, y rhai a ddywedent fod ei holl drigolion yn dra llwyddianus. Mewn gair, yr oedd yn amlwg nas gallai y sawl a ddeuai i'r ynys gyda rhyw fath o yni, beidio a chyfarfod â llwyddiant mawr, o herwydd cyfoeth y lle mewn aur, arian, copr, haiarn a glo. Tra yn Alexandria, cyfarfyddais ag amryw o Loegr yn aros am agerlong i'w cario i Cyprus, yr hyn a gododd awydd mawr ynwyf am weled y lle, a chyfranogi o'r golud a ddywedid oedd i'w gael yno. Penderfynais dalu ymweliad â'r hen ynys, yr hon oedd newydd ddyfod i feddiant Lloegr, drwy gytundeb rhwng Arglwydd Beaconsfield a llywodraeth Twrci; ac mewn canlyniad, gorchymynais i'r *dragoman* fy nghymeryd i a fy nghludgelfi i fwrdd yr agerlong.

Cymerais fy nghludiad yn un o ddau-a-deugain o deithwyr o Alexandria i Larnaka. Nid oedd lle ond i tua deg yn y *cabin*, o herwydd nad oedd y S. S. *Simiati* wedi ei gwneyd i gario teithwyr. Ond yr oedd lluaws o honom mor awyddus am gael gweled Cyprus, fel y bu i ni foddloni cysgu ar y dec. Yr oeddym yn gynwysedig o Saeson, Ffrancod, Groegiaid, Italiaid, Twrciaid, &c. Cafodd ychydig o honom fwyta yn y caban, ond y rhan fwyaf yn profeidio eu hunain. Gwnaethym i fy

ngwely ar y dec yn gynar, trwy fy mod yn teimlo yn lluddedig ar ol blinderau y dydd. Ond cyn deg o'r gloch, cefais fod y dec, a phob peth o'n hamgylch, mor wlyb a phe buasai wedi bod yn gwlawio; ond deallais mai gwlith oedd, ac fe'i ceir fel hyn bob nos yr adeg hono yn yr amgylchoedd hyny. Yn mhen tair-awr-ar-ddeg-ar-hugain, cafwyd ni wedi angori o flaen Larnaka; ond trwy fod y nos wedi ein dal eto, ac wedi cael ar ddeall nad oedd yn Larnaka fath yn y byd o *hotels* na *boarding-houses*, bu i ni aros ar fwrdd y llestr hyd y boreu, pryd y cymerodd pump o honom gwch i'r lan. Yr oedd y pump hyny yn cynwys boneddwr a'i wraig o Germani, yn deall y Groeg, y Ffrancaeg a'r Saesonaeg, cystal a'r Germanaeg. Un arall yn Ffrancwr, un Sais, a fy hunan. Dyna ni yn y *custom house*, yn cael chwilio pob peth yn fanwl anghyffredin gan un o'r Twrciaid, yr hwn nas medrai air o Saesoneg. Cyfarfyddasom yno ag amryw o ddynion a siaradent Saesoneg. Gofynasom am y newyddion. "Dim newydd," oedd yr ateb, "a dim yn cael ei wneyd mewn un cyf-eiriad." Meddai un, "*Out of* 180 *troops*, 104 *are down with the fever*." "Y mae canoedd wedi dod yma, ond y rhan fwyaf o lawer wedi myned ymaith mewn digllonedd," &c. Rhyw

newyddion fel yna oedd i'w clywed ar bob llaw. Wel, aethym allan i chwilio am le i roi ein penau i lawr. Rhoddasom ein paciau i'r brodorion i'w cario, a cherddasom trwy ryw fath o heolydd, os teilwng o'r enw, gan gyfarfod camelod, asynod, ceffylau a gwartheg yn yr heolydd culion a budron. O'r diwedd, daethym o hyd i glampyn o dy hen ffasiwn, yn aros am wn i er amser yr apostolion Paul a Barnabas. Llogodd y boneddwr Germanaidd a'i wraig garedig y ty, a bu i ni oll fyw gyda hwy dros dalm o amser. Wedi gorphwys dros amser aethom allan, ac ni chawsom ond ychydig o drafferth i ganfod yr holl Brydeinwyr yn y lle, o herwydd "adar o'r un lliw a ehedant i'r un lle;" a chawsom hwy oll mewn lle cysgodol ar lan y mor. Yr oedd yno de a choffi, yn nghyd a phob math o ymborth, mewn math o westai bychain, yn cael eu cadw gan y Groegiaid, ac o flaen y tai yr oedd cadeiriau a meinciau fel y gallai pawb eistedd. Yr oedd yno fwy na chant o Brydeinwyr; ac yr oeddynt oll yn teimlo yn siomedig i'r eithaf. Teimlent yn siomedig yn gyntaf o herwydd fod yr hin yn boeth, a'r ynys yn afiach; ac yn ail, am nad oedd yr ynys yn cynwys dim o'r tir bras, a'r mwnau cyfoethog, yr ysgrifenwyd cymaint am danynt ar ddychweliad

Arglwydd Beaconsfield o Berlin i Loegr. Ac yn drydydd, yn ol tystiolaethau gwyddonwyr oeddynt yn yr ynys ar y pryd, nid oedd gobaith am well amser byth yno. Pa fodd bynag, penderfynais fynu cael gweled yr ynys, fel y gallwn farnu droswyf fy hun.

---

## PENNOD XI.

*Ynys Cyprus a'i hynodion—Afiechyd a phlaau—Y Prydeinwyr wedi eu siomi—Taith o Lanarka i Nicosia a Famagosta—Chwilio am lechfaen—Mordaith i Beyrout—Hynodion yr amgylchoedd—Y ffordd i Damascus—Mordaith i Joppa—Taith i Jerusalem—Mordaith i'r Aifft—Port Said—Helynt yn y diheinbrawf—Cyfarfod Cymro—Mordaith i Point de Galle—Hanes a helyntion ynys Ceylon—Cyfarfod a lladron—Cael gwaith yn ngwaelod y mor, &c., &c.*

Aethym i fy ngwely yn gynar y noson gyntaf, o herwydd nad oeddwn wedi cysgu ond ychydig ar y mor y noswaith flaenorol; ond cefais fy siomi, oblegid nad allwn i na neb arall gysgu dim gan bigiadau *mosquitoes*, a chyfarthiadau ac udiadau oddeutu dau gant o gwn oeddynt oddiamgylch ein haneddle. Codasom oll boreu dranoeth mewn natur ddrwg,

o herwydd i ni gael ein poeni drwy y nos. Wedi bwyta ein boreufwyd, y peth cyntaf a wnaethom oedd myned oddiamgylch i chwilio am ryw ffordd i gael ymwared oddiwrth yr hyn a'n poenodd y noson flaenorol; ond rhoddwyd ar ddeall i ni nad oedd o un dyben ceisio dianc rhag cyfarthiadau y cwn, canys yr oedd yn rhaid iddynt gael eu rhyddid ddydd a nos, lle bynag y byddai y Twrciaid yn byw. Cawsom ar ddeall hefyd fod pobl Constantinople yn cael eu blino yr un modd, er holl ymdrechion y tramorwyr am waredigaeth oddiwrth bla y cwn. Gyda golwg ar y *mosquitoes*, nid oedd cyfraith yn eu hamddiffyn hwy, a phrynasom rwydlen i'n gorchuddio tra yn cysgu; ac er gwaethaf y cwn a'r Twrciaid cysgasom, a chodasom boreu dranoeth mewn gwell tymer. Yn mhen ychydig ddyddiau aeth amryw o honom i ymweled a hen ddinas Famagosta, pellder oddeutu 25 milldir o Larnaka; eithr nid oedd yno wedi'r cwbl nemawr ddim ond hen adfeilion. Tra yno cawsom y fraint o fyned i hen addoldy, a sefyll yn yr un pwlpud ag y dywedir y bu yr apostol Paul yn pregethu ynddo! Dyna y tal a gefais am y siwrnai hono. Dychwelasom i Larnaka, wedi i arlunydd oedd gyda ni dynu llun da o hen dref Famagosta.

Wedi treulio ychydig ddyddiau yn hwy yn

Larnaka, cymerais daith mewn rhyw fath o gerbyd a berthynai yr amser hwnw i'r llywodraeth, i'r brif ddinas, sef Nicosia, pellder 24ain o filldiroedd, a buom bum' awr yn myned dros yr holl ffordd. Nid wyf yn honi fy mod yn gwybod llawer am dir toreithiog, ond yr wyf yn sicr nad oedd y tir a welais ar y ffordd yn ffrwythlon; canys nid oedd yr oll o hono yn ymddangos nemawr gwell na diffeithwch. Nid oedd na chroen ar y ddaear na gwelltglas i'w weled ar hyd yr holl ffordd; eithr tua chanol y pellder gwelais rhyw ddeg neu ddeuddeg erw o winwydd yn tyfu, a chwech neu saith o Roegiaid diog yn gwneyd rhyw fath o fywioliaeth drwy werthu dwfr, gwin, a grawn i'r teithwyr. Fel peth cyffredin, y mae y tir a welais yn dywodlyd, sychlyd, a hollol ddiwerth, a dim i'w weled ond geifr yn byw arno.

Fy mhrif amcan yn myned i'r brif ddinas oedd ceisio cael gweled y Llwodraethwr, Syr Garnet Woolsey, a'r peirianwyr. Wedi cyraedd y lle, a myned i mewn drwy y pyrth, cefais drafferth anghyffredin i ddyfod o hyd i unrhyw fath o westy, na lle yn y byd arall i orphwys, a chael tamaid o ymborth. Nid oedd yn ddichonadwy cael neb i fy neall, gan mai Twrciaid, Groegiaid, ac Arabiaid oedd yr

holl drigolion. Wedi hir deithio a chrwydro drwy y dref, daethym i heol nad oedd dim ond cryddion i'w gweled yn mhob cyfeiriad; a bum ymron a meddwl nad oedd dim i'w gael yn ymborth yn y lle, ond cwyr crydd. Ni lwfrheais, ond deliais ati i grwydro, ac o'r diwedd daethym i heol nad oedd ond teilwriaid i'w cael yn mhob cyfeiriad. Mae yn ymddangos fod yr heolydd wedi eu gwneyd fel heolydd tref Caerdroia, nad oedd braidd yn ddichonadwy i ddyn dyeithr fyned allan o honynt. Eithr wedi troi a throsi am agos i ddwy awr, daethym o hyd i ryw fath o westy Twrcaidd, lle y cefais ymborth. Ar ol hyny cyfeiriais fy nghamrau i wersyll y llywodraeth, a chefais fod milwyr y llywodraeth yn gwarchod wrth y porth. Deallais fod y Llywodraethwr gryn ffordd o'r lle, a chyflogais asyn i fy nghario yno. Daethym o hyd iddo yn byw mewn pabell yn nghanol y milwyr cyffredin, o herwydd yr oedd yn dewis yn hytrach fyw felly, yn y gwersyll, na byw mewn palas oedd wedi ei ddarparu iddo. Dywedais wrtho fy neges, a chefais ef yn wr tyner ac anrhydeddus. Atebai nas gwyddai yr amser y byddai iddynt ddechreu y rheilffyrdd, ond credai y gwnaent cyn hir. Dywedodd un o'r *engineers* fod llechau ddigon i'w cael mewn lle oddeutu 12 milltir oddi yno, yr

hyn a gododd awydd ynwyf i fyned yno mor fuan ag yr oedd modd. Llogais gamel i'w farchogaeth i'r lle, a rhyw fath o Roegwr yn arweinydd, ac ymaith a mi yn limpyn loncyn. Aeth yn nos, a bu raid a mi gysgu allan ar y maes. Dranoeth cyrhaeddasom ben y mynydd, a daeth y mor i'r golwg ar yr ochr ogleddol, ac hefyd i'r deheu. Yr oedd y golygfeydd y ffordd hono yn llawer mwy dymunol na dim a welais o'r blaen. Yr oeddwn yn gweled Cyrenia hefyd o'r safle hwnw; ac yn sicr yr oedd y golygfeydd yn ddymunol a rhamantus. Yn y nos yr oedd y dwfr yn oer a da; ond yn y dydd yr oedd yn gynes fel y rhedai i lawr ar lechweddau y mynyddoedd. Ond wedi teithio drwy y mynyddoedd am ddau ddiwrnod, a phum' diwrnod o Larnaka, ni welais ddim tebyg i lech-faen o gwbl, yna dychwelais mewn anobaith. Cyfarfyddais a boneddwr oedd wedi ei anfon o Loegr i edrych mwnau y wlad yn gyffredinol; ond yr oedd yntau wedi cael ei siomi yn mhob peth.

Wedi'r cwbl ni welais un lle ar yr ynysoedd yn fwy dymunol genyf na Laranka; a phob tro yr aethym i edrych parthau eraill, codai hiraeth ynwyf am ddychwelyd yn ol i Larnaka. Eithr wedi aros yn yr ynys am chwech wythnos, nid oedd dim gobaith am

adnewyddiad masnach, nac am ddim gwaith yn Laranka, mwy na rhyw le arall yn yr ynys. Hefyd, pe buasai i ryw waith gael ei agor yno, yr oedd digon o arolygwyr yn y lle yn deall gwahanol ieithoedd y trigolion; ac hefyd yr oedd lluoedd o'r labrwyr yn barod i weithio am o swllt i bymtheg ceiniog y dydd. Pe canfyddid nad oedd digon o bobl ar yr ynys i wneyd unrhyw waith, dim ond anfon i Malta, yr Aifft, Smyrna, Damascus, a lleoedd eraill, a cheid digonedd o weithwyr mewn byr amser. Yr oedd yr holl leoedd yna yn llawn o weithwyr yn barod i weithio am unrhyw gyflog. Pe na buasai genym hanes bodolaeth Cyprus rai miloedd o flynyddoedd yn ol, buaswn yn tyngu nad oes llawer o ganrifoedd wedi myned heibio er pan oedd dan ddwfr yn gwbl. Mae cregin a thywod o wahanol fathau i'w cael yn awr, hyd yn nod ar benau y mynyddoedd uchaf; ac yn eu plith y mae cregin cocos, neu rai yr un fath a hwy yn mhob modd. Ond wedi y cwbl, rhaid dweyd fod llanerchau bychain toreithiog yn Cyprus, ac mae gohebydd y *Daily News*, Lundain, wedi rhoddi archwiliad manwl i'r pwnc, a dywed y gellir dwyn rhanau mawrion o honi yn dir cynyrchiol, pe ceid rhyw ddyfais i ddyfrio y tir, yn ddigonol i fwydo gwyneb y ddaear.

Nid oes digon o wlaw yn disgyn i wneyd hyny; ac nid oes gobaith am unrhyw ddyfais i wneyd y diffyg i fyny yn yr oes hon. Yr oedd yn amlwg erbyn hyn, fod y newyddion a gyhoeddwyd yn flaenorol, fod y mwnau ar yr ynys yn anhysbyddadwy o gyfoethog, wedi eu profi agos yn hollol gyfeiliornus. Wedi gweled fod pob peth fel hyn yn siomedigaeth, daethym i a llawer eraill i'r penderfyniad mai goreu po gyntaf i ni ymadael a'r ynys. Cefais gyfleusdra i gefnu ar Cyprus, ac i ffarwelio a'i bryniau noethlwm heb golli dim dagrau, ar fwrdd yr agerlong *Nerenta*, un o agerlongau Austrian Lloyd. Yr oedd dau o Saeson gyda mi, a llonaid y dec o Arabiaid, yn nghyda 600 o filwyr Twrcaidd, y rhai oeddynt yn dychwelyd o Constantinople. Gyda y rhai hyn hefyd yr oedd amryw o'r Pashas, a swyddogion Tyrcaidd. Bu y ddau Sais, Connery ac Austin, yn Cyprus am chwech wythnos. Hwyliasant hwy, yn nghyda 45 eraill, yn syth o Lundain yn yr agerlong *Nopoli*, gan benderfynu gwella eu hamgylchiadau. Yr ydoedd llawer o honynt wedi dyfod a nwyddau gyda hwy i'w gwerthu; ond y ddau hyny oeddynt y rhai olaf o'r 45 i ymadael o Cyprus. Yr oedd Mr. Connery am fyned i wlad Canaan, i chwilio am ryw alwedigaeth i wneyd bywol-

iaeth. Pan oedd y *Nopoli* yn cychwyn o afon Llundain, gan mai hi oedd y gyntaf i fyned ar ei hunion oddiyno i Cyprus, anfonodd y bobl *delegram* at y Frenines i'w hysbysu o'r ffaith; ac ar eu glaniad yn Larnaka yr oeddynt yn dysgwyl atebiad. Fel yr oeddynt yn nesau at y porthladd, darfu i un o'r llongau rhyfel danio *salute* iddynt hwy, yn ol fel yr oeddynt yn meddwl, a theimlasant yn falch iawn; ond troes allan wedi hyny mai *salutio* y Pashas Twrcaidd oedd yn dyfod i mewn o Constantinople ddarfu y llong ryfel. Felly nid oeddynt hwy yn cael yr anrhydedd a ddysgwylient. Mab i fasnachwr mawr yn Wolverhampton, Lloegr, ydoedd Mr. Austin; a phan ddywedais fy mod am fyned i'r India Ddwyreiniol, penderfynodd ddyfod gyda mi. Cyngorais ef i fyned adref at ei dad cyfoethog, ond ei atebiad oedd, "Nid am ddwy flynedd."

Buom naw-awr-ar-hugain yn croesi o Larnaka i Beyrout, Syria; ac er fod yr agerlong yn yn llawn iawn, cefais daith weddol gysurus. Angorasom mewn lle hynod gyfleus i gael gweled prif borthladd Syria. Y peth a dynodd ein sylw fwyaf ar doriad y wawr, oedd gweled yr haul yn codi yn y Dwyrain o'r tu cefn i'r Fynydd Libanus, yr hwn oedd yn amlwg iawn o'n blaen. Mae yno *drum* o fyn-

yddoedd yn rhedeg i bellder mawr. Yr oedd yr olygfa yn brydferth tu hwnt i bob desgrifiad, pan oedd pelydrau yr haul yn goreuro penau y mynyddoedd, llinellau allanol y rhai oeddynt yn dra amlwg yn erbyn yr awyr wyrddlas o'r tu cefn. Diau fod yr olygfa yn fwy ardderchog i'n golygon ni ar y pryd, o herwydd ein bod wedi dyfod o hen le hyll a noethlawn fel ynys Cyprus. Hefyd yr oedd dinas, porthladd ac amgylchoedd Beyrout yn rhamantus dros ben. Taniwyd ergydion lawer o'r amddiffynfeydd er anrhydedd i'r Pashas Twrcaidd oeddynt ar fwrdd ein hagerlong; ac yr oedd pob peth yn llawn bywyd. Angorodd yr agerlong tua milldir o'r lan, a bu raid i ni logi cwch i'n cario drosodd.

Pan laniasom yn Beyrout, yr oedd llawer o ganoedd o bobl, neu gyfeillion y 600 milwyr, wedi dyfod at y llongborth i'w cyfarch ar eu glaniad. Tra ar y lan, y peth cyntaf ddaeth i'm cof oedd hanesion y Beibl am y lleoedd hyny. Ar ol cael boreufwyd yn yr Hotel De Europe, a sicrhau arweinydd, llogasom gerbyd i'n cludo drwy heolydd y ddinas a'r cymydogaethau, i weled y lleoedd. Cawsom fod y cerbydau yno yn rhatach nag mewn un man arall y buom o'r blaen. Llogasom gerbyd a dau geffyl am $1.14 am saith awr o amser.

Aethom yn mlaen ar ffordd Damascus, a ffordd iawn ydoedd. Mae y wlad oddiamgylch yn ffrwythlon, ac yn llawn o'r prydferthwch mwyaf dymunol i'r llygad. Buom yn cloffi rhwng dau feddwl gyda golwg ar fyned i



CEDRWYDDEN MYNYDD LIBANUS.

Damascus, pellder 75 o filldiroedd. Aethom ar lechwedd Mynydd Libanus am ddeng milldir; ac heblaw hyny dringasom i ben y mynydd bythgofiadwy, a chawsom olygfa ysblenydd ar y wlad. Ar ol myned i ben y mynydd eisteddasom dan gedrwydden frigog i wrandaw ar ein harweinydd yn egluro i ni y

wlad oddiamgylch ogylch. Yr oedd ei ddarlith yn ddyddorol, ond yn rhy faith i mi am canu ei hadrodd yn awr. Mae llawer o fan bentrefydd i'w gweled ar y mynydd, dolydd gwyrddion a phantleodd prydferth hynod o doreithiog, fel tir amaethyddol, a gwinllanoedd hyfryd yr olwg arnynt, yn amrywio ac yn brithio y golygfeydd. Nid ydyw yr ochr ddwyreiniol mor doreithiog a phrydferth; ac mae y tir yn llawer mwy tywodlyd. Nid ydyw y gwaelodion ychwaith yn ymddangos mor ffrwythlon a breision. Nid ansawdd y sefyllfa bresenol sydd yn gwneyd y lleoedd hyny yn ddyddorol i'r teithwyr, ond y nodedigrwydd a roddir i'r lle mewn hanesiaeth Ysgrythyrol.

Dychwelasom yn ol i ddinas Beyrout, ac aethom yn ddiymdroi i weled ei rhyfeddodau, ac yn enwedig ei Bazars, neu siopau yn cynwys bob peth ar werth. Mae y rhai hyn mewn heol a ymddangosai dan y ddaear. Hefyd y mae ynddynt bob math o weithwyr, tincers, coblars, cryddion, teilwriaid, gemau wneuthurwyr, ac yn y blaen. Mae y marchnadoedd yno yn amrywiol iawn, lle y gwerthir defnyddiau dillad parod, esgidiau, ymborth o bob desgrifiad; a chyflawnder mawr o rawnwin i'w cael yn hynod o rad. Treuliais tuag awr yno; yna aethym i weled y chwareudai a

wnaeth Agrippa i nai Herod Fawr; ond nid oes llawer o odidawgrwydd yn y pethau hyny yn awr. Mae Beyrout yn cynwys 70,000 o bobl, ac mae llawer o honynt yn Ewropeaid. Oddi yno y cychwynir ar y brif ffordd i Damascus, pellder 75 o filldiroedd mewn cerbyd am 20 francs; amser, 14 o oriau. Cynwysa Damascus 150,000 o bobl, ac mae yn hen dref nodedig, fel y gwyr pawb sydd yn darllen y Testament Newydd. Mae y bobl yno yn arfer yr hen ddull o wisgo, a phob peth yn myned yn mlaen fel yn y dyddiau gynt. Mae Beyrout yn lle iach, a dywedir mai dyna y lle mwyaf dymunol yn Syria. Cafodd cwmni Seisnig ddwfr rhagorol yn y mynyddoedd, yr hwn a gyrchir i'r ddinas. Cyfarfyddais a llawer o Americaniaid yno, a dywedir fod 75 o bob cant o'r ymwelwyr y flwyddyn hono o America. Gan fod llawer wedi ymadael, a'r *hotels* yn lled weigion, nid oedd y prisiau yn hynod o uchel ar adeg fy ymweliad. Treuliasom ein hamser yn Beyrout yn ddyddorol iawn; er nad oedd ein hamser ond byr, gwelsom lawer. Cyn ein bod braidd yn barod, dyna yr agerlong yn chwythu y chwibanogl i roddi rhybudd i ni; ac wedi ffarwelio a Mr. Connery, yr hwn oedd am aros yn Caiffa, fel y lle tebycaf iddo wneyd bywioliaeth, rhuthrasom

am gwch i fyned at yr agerlong. Hwyliasom yn ddioed, ac yn fuan collasom ein golwg ar Beyrout am y tro diweddaf, dichon am byth. Nid hir y buom yn morio cyn y daeth hen Fynydd Carmel i'r golwg, ac yn wir yr oeddym oll yn rhythu ein llygaid wrth edrych arno. Yr oedd y golygfeydd yn brydferth, a'r adgofion yn felus dros ben, wrth gofio mai y mynydd o'n blaen oedd Mynydd Carmel y sonir am dano yn y Beibl! Y fath gyfnewidiad dirfawr sydd ar y byd a'i bethau er yr amser hwnw! Ac mae y rhai oeddynt yn cymeryd rhan mor bwysig yn nhynged dynoliaeth, yn mhriddellau y dyffryn er's dros ddeunaw cant o flynyddoedd. Dichon y bydd rhywun yn synfyfyrio eto ar y lleoedd hyny, yn mhen deunaw cant, neu ddeunaw mil o flynyddoedd i ddyfod. Onid oes rhyw ddirgelwch mawr yn cuddio pob peth yn y byd?

Erbyn naw o'r gloch cyrhaeddasom longborth Joppa, a dyna le rhyfedd eto. Yr oeddym yn edrych gyda manylwch mawr ar y tai yn mhob cyfeiriad. Ymddangosai yr hen ddinas yn hynod o odidog oddiar y mor, ond y mae yn debyg mai ei henafiaeth oedd yn ei nodweddu fwyaf yn fy ngolwg. Wedi myned i'r cwch cawsom fod y mor yn hynod o derfysglyd, a'r tonau yn lled freision, fel y cawsom

ein lluchio yn ddidrugaredd yn mhob cyfeiriad; ac yn wir nid oedd arnaf lai nag ofn, yn enwedig wrth i ni redeg y cwch rhwng rhyw fân greigiau duon oeddynt ar ein ffordd i'r lan; a dywedir fod y tonau yn y fan hono yr un mor erchyll a pheryglus bob amser ar y flwyddyn, ac yn aml yn rhy erchyll i neb lanio yno. Pa fodd bynag, cyrhaeddasom y tir, ac yr oedd tyrfa fawr ar y lan yn ein dysgwyl; a chyda bod ein traed ar dir sych, dyna nhw yn rhuthro ac yn neidio atom, er cael yr oll a allent oddiwrthym; ond ni thalasom ddim sylw iddynt, gan fod goruchwyliwr yr *Howards Hotel* yno yn ein derbyn, ac aethom gydag ef o ganol yr haid derfysglyd oedd o'n hamgylch. Wedi cael ein gwynt atom, a phethau i drefn, aethom i weled ty yr hen Simon, barcer, am yr hwn y dywedir yn yr Actau fel hyn: "Ac yn awr anfon wr i Joppa, a gyr am Simon, yr hwn a gyfenwir Pedr; y mae efe yn lletya gydag un Simon, barcer, ty yr hwn sydd wrth y mor; efe a ddywed i ti pa beth sydd raid i ti ei wneuthur." Wedi myned i'r fan cawsom nad oedd yno ond rhyw hen dy gwael iawn yr olwg arno, yn cynwys un ystafell yn unig. Mae rhyw rai yn arfer dyfod i'r hen dy i addoli yn bresenol; ac yr oeddynt yn ein sicrhau mai yn yr hen ystafell hono yr oedd Simon

yn byw. Dyna le rhyfedd iawn i Petr letya ynddo, ond yno yr oedd, yn ol yr hyn a ddywedodd yr angel wrth Cornelius; ac mae y bobl yno yn sicrhau mai hwnw oedd y ty. Ni welais ddim arall yn Joppa yn haeddu sylw, gan mai hen le tlodaidd a salw ydoedd, ac ni fuasai neb yn dyfod yno ond yn unig o herwydd yr hanes Beiblaidd am y dref. O'r tu allan i'r hen ddinas y mae Germantown, yn llawn o berllanau eurafalau prydferth. Peth arall hynod iawn am Joppa, yn ol yr hanes lleol ydyw, ei bod yn awr fel yr oedd cyn y dylif, ac mai yno yr oedd Noah a'i deulu yn byw. Hefyd dywedir mai wrth y mor yno yr adeiladodd yr Arch. Daeth i fy meddwl mai rhyw le rhyfedd oedd hwnw i'r holl greaduriaid a'r bwystfilod a'r ymlusgiaid ddyfod iddo o bob man i fyned i mewn i'r Arch. Wel, y mae peth arall yn hynodi y lle hwnw, sef mai dyna y fan y trigai Jonah, ac oddi yno y cychwynodd i Tarsis. Y mae hanes dychrynllyd am y lle hwnw yn fwy diweddar, sef hanes y milwyr dan Napoleon Bonaparte yn gwenwyno y cleifion ac yn llabyddio pedair mil o garcharorion rhyfel.

O JOPPA I JERUSALEM.—Mae llawer o son er's blynyddau am adeiladu rheilffordd o Joppa i Jerusalem, ond gellir dweyd mai megys

yr oedd yn y dechreu y mae yr awr hon, ac nid oes eto ffordd haiarn wedi ei hadeiladu. Gellir dweyd pa fodd bynag fod yr hen ffordd wedi ei diwygio, fel y mae yn llawer haws ei theithio y blynyddoedd hyn nag y bu. Llogasom geffyl bob un, ac arweinydd o'r gwesty, yr hwn hefyd oedd yn marchogaeth; yna aethom i weled rhyfeddodau hen ddinas nodedig Jerusalem. Fel yr oeddym yn myned yn mlaen, dangosai yr arweinydd ryw wrthrychau hynod i ni yn barhaus. Yr oeddym yn myned drwy wastadedd Sharon, lle yr oedd cyflawnder o ffrwythau o wahanol fathau, yn enwedig eurafalau. Yr oedd ein harweinydd yn dra hyddysg gyda phob peth, ac yn hynod o ffraeth yn ei ymadrodd, gan ei fod yn arfer dweyd yr un pethau drosodd a throsodd wrth wahanol ymwelwyr. Dangosodd i ni y fan lle y bu yr arch yn gorphwys am ugain mlynedd; ac hefyd ddyffryn Ajalon, lle y safodd y lleuad, mewn atebiad i weddi Josua, yr amser y gweddiodd am i'r haul aros yn Gibeon, fel y gallai gael goleuni i orchfygu ei elynion. Ar ol hyny dangosodd i ni afonig fechan lle y lladdwyd y cawr Goliath gan Dafydd, ac amryw o ryfeddodau eraill. Yn y cyfamsèr daeth Jerusalem, y ddinas santaidd i'n golwg, ac ni fuom yn hir cyn myned i

mewn drwy y porth, a chawsom ymborth yn ngwesty Mr. Howards, perchenog y gwesty yn Joppa.

Dyma ddinas nad oes eisiau i mi ddweyd llawer am dani, o herwydd fod pawb wedi darllen ei hanes yn yr hen amseroedd; ond dichon na fydd crynodeb bychan o'i hanes ar wahan oddiwrth yr hyn a geir yn y Beibl, yn annyddorol. Mae yn wir fod ynddi ddigon o ryfeddodau i ysgrifenydd ymarferol ysgrifenu cyfrolau am danynt; ond rhaid i mi fyned heibio drwy ddweyd fod Jerusalem 38 o filldiroedd o lan Mor y Canoldir, yn hydred 35° 16' a lledred 31° 46' yn ogleddol. Hefyd y mae y ddinas 27 o filldiroedd o fan arllwysiad yr Iorddonen i'r Mor Marw; a chant a deugain o filldiroedd i'r de-orllewin o Damascus. Daeth Jerusalem yn brif ddidas Judea ar ol i Dafydd orchfygu y Jebusiaid; ac yn ystod teyrnasiad Zedekiah, cymerwyd hi gan Nebuchodonozor, yr hwn a arweiniodd y genedl Iuddewig yn gaethion i ddinas Babylon. Cymerwyd Jerusalem drachefn ar ol brwydrau mawrion gan Titus, 70 o flynyddoedd ar ol genedigaeth Crist—Proffwydodd Crist am ddinystr Jerusalem, a phan gymerodd hyny le, dinystr ofnadwy ydoedd. Lladdwyd a newynwyd lawn 110,000 o bersonau, a chym-

erwyd 97,000 yn garcharorion, y rhai a werthwyd yn gaethion, a gosodwyd y lleill yn ysglyfaeth i fwystfilod rheibus. Dinystriwyd yr holl adeiliadau, a gwnaed y cwbl yn adfeilion afluniaidd. Ar ol hyny, fel y mae yn hysbys i efrydwyr hanesyddiaeth, adeiladodd yr Ymerawdwr Adrian ddinas newydd, yn cynwys copa Mynydd Moriah, neu y rhan hono o hen ddinas Jerusalem, oedd mewn cyfeiriad gogledd-ddwyrain. Pan oedd y ddinas hono yn ei blodau drachefn, ymosodwyd arni yn y flwyddyn 614 gan y Persiaid, y rhai a'i cymerasant. Tra yr oedd y gorchfygwyr hyn yn ei meddianu, chwenychwyd hi gan eraill; ac yn y flwyddyn 636, sef yn mhen 22 o flynyddoedd, gwarchaeodd y Saraceniaid arni, a syrthiodd y ddinas i'w meddiant. Ar ol hyny bu mewn cyflwr terfysglyd am lawer o flynyddoedd, a'r hanes nesaf a gawn ydyw, fod y Twrciaid yn symud yn ei herbyn; ac yn y flwyddyn 1076, cymerasant hi. Pwnc mawr yn ngolwg y Twrciaid, oedd dyfod yn feddianol ar brif ddinas y Cristionogion, oedd wedi bod yn gryd Cristionogaeth; ac ystyrient fod eu buddugoliaeth yn ddyrchafiad mawr i Fahometaniaeth. Bu y ddinas yn eu meddiant am 23 o flynyddoedd, sef hyd y flwyddyn 1099, pan ddaeth lluoedd Rhyfelwyr y Groes yn

mlaen, a rhai o honynt agos o bob gwlad yn Ewrop; ac ar ol ymladdfeydd gwaedlyd, gorchfygasant y Twrciaid, a meddianasant Jerusalem. Sefydlasant deyrnas yno a barhaodd 88 o flynyddoedd, dan deyrnasiad naw o Freninoedd Lladinaidd, y rhai a gyfarfuasant a llawer o lwyddiant ac aflwyddiant. Pan oedd Saladin yn Frenin ar Syria a'r Aifft, penderfynodd ymosod ar, a meddianu Jerusalem, yr hyn a wnaeth yn y flwyddyn 1187. Nid oedd y Twrciaid yn foddlon ar eu ffawd yn Jerusalem, a buont drwy y blynyddoedd yn parotoi i'w hail feddianu, gan eu mawr awydd am i Fahometaniaeth orchfygu Cristionogaeth mewn lluosogrwydd a nerth. Buont yn hynod o ddiwyd a dyfalbarhaus yn eu penderfyniad; ac yn y flwyddyn 1217, hwy a lwyddasant i anfon y Saraceniaid, a phawb arall, o Jerusalem, gan gymeryd cyflawn feddiant o'r ddinas santaidd; ac mae yn parhau yn eu meddiant hyd y dydd heddyw!

Mae Jerusalem yn sefyll ar fwrdd-dir uchel, a gorifyny lled syth iddi o bob ochr, ond yr ochr ddeheuol; a chan ei bod yn cael ei hamgylchu gan dyffrynoedd, a'r rhai hyny yn amgylchedig gan fynyddoedd, y mae Jerusalem yn ymddangos i'r ymdeithydd wrth nesau ati, fel pe byddai wedi ei gosod yn nghanol rhyw

amchwareufa aruthrol mewn maintioli. Mae yno olygfa ardderchog ar dyrau, pinaclau, clochdai, eglwysdai, palasau, mynachlogau, capelau, ac yn y blaen.

Yr hyn sydd yn tynu mwyaf o sylw ymwelwyr Cristionogol a Jerusalem ydyw Eglwys y Beddrod Santaidd, a sylfaenwyd gan yr Ymerodres Helena, i adfeddianu yr hon oddiar Inffideliaid y dechreuwyd Rhyfel y Groes. Mae yr adeilad hwn yn ysblenydd yn mhob modd. Ymddengys Monachlog St. Salvador fel rhyw gastell aruthrol, ac yn hwn y cynelir y pererinion tra yn ymweled a'r ddinas. Dywedir mai Mynachlog Armenia ydyw yr helaethaf yn y ddinas, ac mae yn cael ei chadw yn ei holl wychder cyntefig.

Nid rhyw lawer o law-weithfeydd oedd yn myned yn mlaen yn y ddinas; ond yr oedd yno amryw o Iuddewon ac Armeniaid yn gwerthu gleinron, rhosblethau, penblethau, tlwswregysau, helmau, croesau, cregin, &c., a wneir yno. Sefydlwyd yr Esgob Protestanaidd cyntaf yn Jerusalem yn 1841; ac mae yr hawl yn perthyn i benau coronog Lloegr a Prwsia. Cynwysa y boblogaeth Fahometaniaid, Iuddewon, Cristionogion, Arabiaid, Persiaid &c.

Tua'r de y mae Mynydd Sion, a phrin y

gellir dweyd fod Mynydd Moriah a Mynydd Acra yn fynyddoedd o gwbl, gan nad ydynt nemawr uwch na'r tir o'u hamgylch. Mae golwg ysblenydd ar Ddyffryn Jehoshaphat i'r dwyrain o'r ddinas, drwy yr hwn y mae yr afon Cedron yn rhedeg, sydd mor adnabyddus i bob un a darllenodd y Beibl. Tu draw i'r dyffryn hwnw y gorwedda nifer o fryniau, a'r amlycaf yn eu plith ydyw Mynydd yr Olewydd. Mae y dyffryn deheuol yn lle cerigog o'r hwn yn ddiau y casglwyd ceryg yn yr hen amser i adeiladu y ddinas. Mae y ddinas wedi ei hadeiladu mewn ffurf afreolaidd, ond yn tebygu i ddullwedd petryol, a mur o'i hamgylch agos yn dair milldir o hyd. Mae yn y mur chwech o byrth yn arwain i'r ddinas o wahanol gyfeiriadau. Ymddengys y nifer luosocaf o'r tai yn uchel, a'u nenau yn wastad; a chan nad oes ffenestri yn y lloriau isaf, ond anaml, ymddengys yr heolydd yn gulion, megys rhwng muriau uchel. Goleuir y lloriau uchaf yn gyffredin drwy ffenestri dellt, neu rwyll-waith. Mae rhai o'r hen adeiladau Iuddewig ar eu traed eto, yn ol yr hyn oeddwn yn ddeall; ond saif Eglwys Gadeiriol Fahometanaidd a elwir Khalif Omer, ar yr ysmotyn lle yr oedd teml orwech Solomon yn sefyll! Dyna, er hyny, y deml Fahometaniadd

ardderchocaf yn holl ymerodraeth Twrci. Mae yn gynwysedig o amryw o adranau, ac yn cau i mewn ddarn o dir 1,499 o droedfeddi o hyd, a 990 o droedfeddi o led, wedi ei balmantu a marmor. Mae y deml hono yn gynwysedig o ddwy adran, sef y Saharra a'r El-Aska. Yr oedd yr olaf yn arfer bod yn deml Gristionogol; eithr ni oddefir i neb ond Mahometaniaid fyned i mewn i deml Omar.

Wedi treulio dau ddiwrnod yn Jerusalem dychwelasom i Joppa, lle y cawsom agerlong i'n cludo i Port Said; ac ar ei bwrdd yr oedd llu mawr o bererinion Mahometanaidd ar eu ffordd i Mecca. Yr oedd golwg druenus o dlodaidd ac afiach arnynt. Gwisgai y merched hen gadachau budron, yn orchudd dros eu gwynebau, yn y rhai yr oedd tyllau gyferbyn a'u ffroenau a'u llygaid. Wedi cyraedd Port Said deallasom fod lladron wedi tori y strapiau lledr oddiam ein coffrau a'u lladrata, yn nghyd a *comfort* oedd yn meddiant fy nghyfaill; ond yr oedd yn anmhosibl adfeddianu yr hyn a gollwyd, na chael dim boddlonrwydd yn eu cylch. Wedi myned i'r lan yr oedd yn rhaid pasio drwy y tolldy; ac o herwydd fod gan fy nghyfaill lawer o bethau ar y rhai yr oedd toll, ac o herwydd hyny cawsom gryn lawer o drafferth i fyned drwodd. Wedi

rhoddi ychydig o arian yn gyfrinachol i'r swyddogion, gollyngwyd ni yn rhyddion. Eithr canfyddasom nad oedd heddwch i ni heb ddangos teithdrwydded, (*passport*) hyd nes y deallasant mai Prydeinwyr oeddym, wedi dychwelyd o ynys Cyprus. Bu hyny yn rhwystr i ni drachefn, gan fod heintiau yn Cyprus, a bod llywodraeth yr Aifft yn gwahardd rhyddid i neb ddyfod o'r ynys hono, heb aros dros amser yn yr heinbrawf. Pe buasem yn gwybod hyny yn flaenorol, gallasem ochelyd y trallod olaf hwnw; eithr oferedd oedd gwingo yn erbyn yr awdurdodau, ac anfonwyd ni a'r pererinion i ryw fath o hen adeilad, oedd yn ymddangos fel hen ysgubor. Yr oedd y lle wedi ei wahanu yn hollol, ac ar ei ben ei hun ar yr ynys; a hwnw oedd y lle mwyaf difrifol a welais erioed. Mewn trefn i ni gael ein puro, a'n gwneyd yn addas i gael ein gollwng i blith yr Aifftiaid, gorchymynwyd i ni agor ein holl goffrau a'n sypynau, a rhoddi ein holl ddillad allan i'w puro yn y mwg a'r tan! Gwrthodasom wneyd hyny, yr hyn a achosodd anghydfod mawr, a'r canlyniad fu i'r ffeithiau gael eu gosod o flaen y Trafnoddydd Prydeinig. Anfonodd hwnw genad i eiriol drosom; a'r canlyniad fu i ni lwyddo i gael myned o'r lle uffernol hwnw ar

ol tua saith awr o amser, yn lle tri diwrnod, sef yr amser a ddarparwyd i ni yn y dechreu. Yn y cyfamser cawsom ein hunain yn weddol gysurus mewn gwesty Germanaidd; ond ni fydd i mi byth anghofio y saith awr yn y *Quarantine*, yn Port Said.

Tref ydyw Port Said, ar enau camlas Suez, yn cynwys 10,000 o bobl. Galwyd hi ar yr enw yna er anrhydedd i'r diweddar Mehemet Said. Adeiladwyd hi ar ynys o dywod, yr hon sydd tua 100 o erwau mewn arwynebedd. Mae yr heolydd yn llydain, ac wedi eu codi yn uchel gyda'r sylwedd a gloddiwyd o'r gamlas. Maent yn galedion a threfnus. Gwnaed morglawdd mawr yno, lle y mae y gamlas yn llydan, ac mae y *break-water* yn rhedeg i'r mor ar yr ochr ddwyreiniol, i'r pellder o 6,000 o droedfeddi; ac ar yr ochr orllewinol y mae yn rhedeg oddiwrth y tir 7,000 o droedfeddi. Ar yr ochr agosaf i'r gamlas o'r ynys, y mae pobl Ewropaidd yn byw, lle mae cystal adeiladau ag a ellid ddysgwyl mewn dinas o'i maintioli. Ceir yno lawer o swyddogion uchel o Loegr, yn edrych ar ol hawliau Rhaglaw yr Aifft, a llywodraeth Lloegr; ond *ship chandlers*, a goruchwylwyr ydyw y nifer luosocaf o'r Prydeinwyr. Bu i ni dreulio amryw ddyddiau yn ddifyrus iawn yno, o herwydd fod nifer mawr

o agerlongau yn gorfod galw yn y lle ar eu teithiau i ac o'r dwyrain, ac felly yr oedd rhywbeth newydd i'w weled yn barhaus. Arfera yr holl agerlongau aros yn Port Said, i gymeryd glo i mewn, a bydd yn ofynol cael o dair i bedair awr i wneyd hyny. Caniateir i'r teithwyr felly roddi eu traed ar dir sych, dros ychydig o amser, ac yn gyffredin gadawant gryn symiau o arian yn y lle. Mae tair o *concert saloons* yn Port Said, yn cael eu cario yn mlaen yn fywiog gan ferched o Germani, y rhai a allant ganu a dawnsio yn bur dda. Gwisga rhai o honynt yn ffasiwn Gèrmani, a chwareuant offerynau cerdd yn rhagorol. Ac mor fuan ag y daw agerlong i mewn fydd yn cynwys teithwyr, gwneir yr *Eldorado Music Hall* yn barod i'w derbyn, ac i lawenhau y teithwyr ar eu glaniad, ddydd neu nos, heb wahaniaeth. Ceir myned i mewn am ddim, ond rhaid talu chwe' cheiniog, neu ddeg ceiniog, am wydriad o gwrw, neu ryw beth arall. Dyna fel y maent hwy yn gwneyd eu harian.

Yn ystod yr amser a dreuliasom yn Port Said, yr oedd fy nghyd-deithiwr yn cael ei flino gan effeithiau y dwymyn a gafodd yn Cyprus, ac aethym gydag ef i ymofyn am feddyg, a chefais ar ddeall fod un meddyg Prydeinig yn y lle. Yn fuan gwelwn enw

Dr. Roberts ar ddrws adeilad, a daeth i fy meddwl ar unwaith y gallai fod yn Gymro. Wedi myned i mewn tynwyd pob amheuaeth oddiar fy meddwl, pan y gwelais yn Gymraeg enwau y pregethwyr perthynol i'r Methodistiaid Calfinaidd mewn ffrâm yn y parlwr. Yr oedd un gair o Gymraeg yn ddigon o *bass-word* i mi gael fy nerbyn ar unwaith fel brawd, gyda'r caredigrwydd mwyaf. Cefais mai brodor o Ddinbych oedd y meddyg, ond diweddar o Liverpool. Er nad ydyw Dr. Roberts ond dyn ieuanc, treuliodd flynyddoedd yn China, Japan ac India. Ymddengys ei fod yn hapus a llwyddianus yn Port Said. Cawsom y derbyniad mwyaf brawdol a gwresog gan y Dr. tra y buom yno. Y noson cyn i ni ymadael, cawsom wahoddiad i dy Dr. Roberts, i fwynhau ein hunain, a daeth lluaws o'r Seison, y Ffrancod, ac eraill yno, pryd y cawsom ganu ardderchog mewn tair iaith, sef Cymraeg, Saesonaeg a'r Ffrancaeg. Mae y Dr. yn chwareuwr campus ar y berdoneg, a chanodd amryw o'r hen alawon Cymreig yn rhagorol. Darfu i ni fwynhau ein hunain gyda phob danteithion ar y bwrdd, yn fwyd a diod, a hyny yn y modd mwyaf llawen a difyrus hyd oriau bychain y boreu. Ond yr oedd yn rhaid canu yn iach a Dr. Roberts, er mor ddedwydd

oeddym yn ei gwmni, gan fod gorchymyn i ni roddi ein presenoldeb ar fwrdd agerlong, o'r enw *Adjutant*, lle yr oeddym wedi talu ein cludiad i Point de Galle, Ceylon, ac i adael Port Said ar doriad y dydd. Nid oedd nifer y teithwyr yn y caban, ond pump, heblaw ein hunain. Hwn oedd y tro cyntaf i'r *Adjutant* fyned allan o Lieth, Scotland. Sais oedd y capten, ond yr oedd y dwylaw a'r teithwyr yn Ysgotiaid. Yr oedd y Pilot hefyd ar y bwrdd i'n harwain trwy y gamlas Suez.

Yn fuan ar ol cychwyn, daeth agerlongau i'r golwg, a bu raid i ni aros yn y gorsafoedd, nes iddynt fyned heibio. Yn y cyfamser gwelem dair o agerlongau yn y pellder, ac yr oeddynt yn ymddangos fel pe buasent yn symud ar dir sych. Nid oedd ond ychydig i'w weled ar y gamlas heblaw agerlongau; ac ymestynai gwastadeddau anferth o dywod ar bob llaw. Byddem weithiau yn dyfod i ryw fath o orsafoedd yn llawn o Arabiaid, yn barod i gychwyn i deithiau gyda'u camelod llwythog. Yr oedd llawer o honynt yn myned i'w cartrefleoedd gyda nwyddau fuont yn bwrcasu. Yn aml hefyd byddai plant yn rhedeg ar hyd glan y gamlas wrth ochr yr agerlong, oll yn cardota, ac yn erfyn am elusen. Cyrhaeddasom Ismailia, 44 milldir o bellder,

sef pentref ar lan llyn, mewn lle y gall yr agerlongau fyned yn eu llawn gyflymdra am ddeng milldir. Lle pert yr olwg arno ydyw Ismailia, ac ar yr ochr Aifftaidd y mae coed prydferth, ond eu bod yn lled fân. Planwyd y coed hyn i brydferthu y lle, ac i wneyd cysgod. Hefyd y mae rheilffordd yn myned o'r lle i Cairo, a manau eraill yn yr Aifft. Dewisir y ffordd hono gan deithwyr o'r Tir Sanctaidd i fyned i'r Aifft, yn hytrach na myned drwy Alexandria. Mae *steam tug* yn rhedeg yn ddyddiol rhwng Ismailia a Port Said. Erbyn machlud haul dranoeth, cyrhaeddasom Suez, lle yr oedd nifer mawr o longau ac agerlongau. Gwelsom rai adeiladau da yn y ddinas, ond ni chefais amser i fanylu ar ddim yno.

I'r Barwn Lesseps, boneddwr o Ffrainc, y mae yr holl ddiolch yn ddyledus am agor tramwyfa rhwng y dwyrain a'r gorllewin, neu wneyd Camlas Suez, sydd yn cysylltu dyfroedd y Mor Coch a Mor y Canoldir. Mae pawb yn awr yn edmygu y medr, y penderfyniad a'r gallu, a'r gwroldeb a ddangosodd y boneddwr hwn yn nghyflawniad yr anturiaeth bwysig. Daw y syniad hwn ar y meddwl yn fwy nerthol, pan gofiwn fod hyd yn nod Lloegr, gyda'i grym, ei medr, a'i phenderfyniad, wedi cyhoeddi fod yn annichonadwy

cyflawni yr hyn a wnaeth y Ffrancwr, er gwaethaf pob rhwystrau. Yn 1854, gosododd Lesseps ei gynlluniau o flaen y diweddar Raglaw Mehemet Said, yr hwn a edrychodd yn ffafriol ar yr anturiaeth; ac ar ol llawer o drafodaeth, caed caniatad gan y Sultan a'r Pasha i ddechreu y gwaith yn 1859. Ffurfiwyd y cwmni yn Ffrainc, lle y cymerwyd i fyny y rhan helaethaf o'r cyfranau am 500 francs yr un. Costiodd yr holl gamlas £19,-500,000. Yr oedd swm mawr o'r cyfranau yn perthyn i Raglaw yr Aifft, yr hwn a'u gwerthodd, sef 176,602 o gyfranau, i lywodraeth Lloegr am y swm o £4,000,000. Wedi gorphen y gamlas yn 1869, penderfynwyd ei hagor Tachwedd 17, o'r un flwyddyn, pryd y cyrchodd yn nghyd nifer mawr o agerlongau o wahanol wledydd, ac amryw o benau coronog Ewrop, a phersonau nodedig eraill. Ar y 27ain o'r un mis, aeth yr agerlong *Brazilian*, 1,800 o dunelli, drwy y gamlas, a hono oedd y llestr gyntaf a gwblhaodd waith a fernid drwy yr oesau yn anmhosibl. O'r amser hwnw hyd yn bresenol, y mae agerlongau o bob maintioli yn myned drwyddi yn ddyddiol. Dywedir mai llestri Prydeinig ydyw tair o bob pedair o'r holl rai a foriant drwy y gamlas. Y pellder o Loegr i'r India

Ddwyreiniol drwy Gamlas Suez ydyw 6,500 o filldiroedd; ond yr oedd y pellder dros yr hen ffordd, oddiamgylch Penrhyn Gobaith Da, yn 11,600 o filldiroedd. Dyna arbed 5,100 o filldiroedd yn y pellder i'r India! Holl hyd y gamlas o Port Said i Suez, yw 86 o filldiroedd; eithr nid oes ond tuag un ran o dair o'r pellder wedi ei agor yn gamlas, gan fod nifer o lynau ar y ffordd, ac agorwyd camlasau o'r naill i'r llall; ond mae y dwfr yn fâs mewn rhai o'r llynau. Bu Lesseps yn alluog i wneyd defnydd da o'r llynau. Mae y gamlas yn rhy gul i agerlongau mawrion basio eu gilydd yn mhob man; felly mae lleoedd llydain mewn pellderau neillduol iddynt wneyd hyny. Gan fod y lleoedd i longau basio eu gilydd yn aml, nid ydyw culni y gamlas yn rhoddi nemawr rwystr i fordwyaeth. Ni chaniateir i agerlongau symud yn y nos; ac ni oddefir iddynt unrhyw amser symud yn gyflymach na 5 milldir yn yr awr. Yn gyffredin, cymerir dau ddiwrnod ac un noson i fyned drwyddi, gan y bydd yn rhaid aros yn y gorsafoedd yn aml, fel y gall llestri fyned heibio. Cyfarfuasom ni wrth fyned drwyddi a 12 o agerlongau; ac o herwydd fod troadau byrion yn y gamlas yn aml, y mae yn ofynol bod yn dra gofalus. Mae yr agerlongau yn myned yn ddigon

rhwydd ar hyd y gamlas, a rhai fel yr *Hankow*, *Prince of Wales* a'r *Serapis*, yn tynu 27 1-2 o droedfeddi o ddwfr, yn mordwyo yn rhwydd heb gyffwrdd a'r gwaelod. Y rhwystr mwyaf i drafnidiaeth ar y gamlas ydyw, y lluwchfeydd aruthrol o dywod a chwythir gan y gwynt o'r diffeithdir cylchynol, nes y llenwir rhai parthau o'r gamlas; ond y mae medr celfyddydol wedi dyfeisio peirianau anferth i'w gosod ar waith i gadw y gamlas yn agored, fel mai anfynych yr atelir trafnidaeth.

Dealler mai yr un person sydd wedi ymgymeryd a chloddio camlas o'r Werydd i'r Tawelfor, ar draws culdir Panama, ag a wnaeth gamlas Suez; ac mae gan y cyhoedd ffydd y bydd i'r penderfynol M. De Lesseps gwblhau yr anturiaeth enfawr o gysylltu y ddau gefnfor â chamlas drwy yr hon y nofia llongau o for i for.

Wedi gàdael Suez yr oeddym yn ageru yn y Mor Coch, ac anfonwyd y pilot oddiar fwrdd y *Adjutant*, yr hon a weithiodd ei ffordd yn mlaen drwy y dwfr yn rhagorol. Daeth y tywydd yn annyoddefol o fwll a phoeth, fel yr oedd yn ofynol bod allan ar y bwrdd yn barhaus, er cael ychydig o awel. Yr oedd yn rhaid cymeryd Ashantee *hammock* i'w hongian

ar y dec, gan nad oedd yn ddichonadwy byw yn y caban. Cysgais yn rhagorol hyd nes y deffrowyd fi gan yr ail swyddog, i gael golwg ar fynydd Sinai, yr hwn oedd yn y golwg, ac i'w weled drwy ryw gilfach rhwng y mynyddoedd eraill. Mae y mynydd nodedig hwnw yn 7,500 o droedfeddi o uchder. Yr oed y tir i'w weled ar bob llaw, a'r mynyddoedd yn uchel, a'r clogwyni yn ddaneddog a chribog; ond yn hollol noethlwm. Erbyn pump o'r gloch daethom yn agos at agerlong, oedd wedi gadael Port Said am Gedda, gyda 600 o bererinion i Mecca ar y bwrdd, o wahanol barthau o Syria, Canaan a'r Aifft, oll yn chwilio am ddedwyddwch yn y byd dyfodol, o ganol y tlodi, y budreddi a'r trueni mwyaf yn y byd hwn. Ai tybed fod pobl yn meddwl y bydd eu mwyniant yn fwy yn y byd nesaf, wrth wneyd eu hunain mor annèdwydd ag y gallant yn y byd hwn? Dywedir fod miloedd o'r pererinion yn ymgynull i Mecca o Asia, Affrica a gwledydd eraill, fel y mae presenoldeb y fath dyrfaoedd yn nghyd dros gymaint o amser, yn cynyrchu heintiau dinystriol. Bydd llawer, tra yn meirw, yn credu eu bod yn cael eu dyrchafu yn gorfforol i'r uchelderau, fel y dyrchafwyd Mahomet o'r un lle.

Porthladd ydyw Gedda ar ochr Arabia i'r

Mor Coch, ac mae 40 milldir oddiyno i Mecca, yr hon sydd ddinas yn y wlad. Aeth agerlong y pererinion yn fuan o'n golwg, dros y gorwel ar ein hochr chwith. Buom am bum' diwrnod yn mordwyo y Mor Coch, ac yr oedd yr hin yn enbyd o boeth. Nid oedd dim byd neillduol yn tynu ein sylw, ond y mân ynysoedd; yr oedd yn rhaid bod yn ofalus wrth forio rhyngddynt; ac mae yn ymddangos nad oedd neb yn byw arnynt. Y diwrnod diweddaf ar y Mor Coch cawsom weled yn y pellder ddinas Mocha, lle hynod o adnabyddus o herwydd y coffi diail sydd yn tyfu yn y cylchoedd hyny. Mae masnachwyr Ynys Ceylon yn arfer anfon eu coffi i Mocha, i'w ail sypynu, er mwyn gwneyd i bobl gredu mai yno y tyfodd.

Yn y cyfamser daeth glanau Abyssinia i'r golwg, a'i mynyddoedd mawrion a thanllyd. Bydd y mynyddoedd hyny yn aml yn anfon allan o'u crombilau hylif tanllyd, yr hwn a orlifa yn afoydd dinystriol hyd at lanau y môr. Ar y 13eg aethom allan o'r Mor Coch trwy Hell Gate, a daeth pen mwyaf dwyreiniol cyfandir Affrica i'r golwg; ac yn fuan yr oeddym yn ageru yn Mor yr India, ac mewn tywydd llawer oerach, a mwy hyfryd nag a gawsom yn y Mor Coch. Y dydd canlynol

daeth twr o ynysoedd i'r golwg, a elwir Socotra, ac mae un o honynt o faintioli mawr, ond yn amddifad o drigolion. Dywedir fod dyffrynoedd o fewn yr ynys hono o ddau i dri chant o droedfeddi yn is nag arwynebedd y môr. Cyfarfuasom ag agerlong yn dychwelyd adref o Singapore, yr hon oedd yn cario y faner Brydeinig, ac yr oedd y tywydd yn dra dymunol. Ryw fodd neu gilydd, aeth dwfr hallt at ein dwfr croew, a chan fod rhyw beth allan o'i le gyda'r *condenser*, buom mewn cryn eisiau am tua dau ddiwrnod. Ar ol hyny yr oedd yn rhaid i ni yfed cwrw a stout, o'r rhai yr oedd digon ar y bwrdd. Dranoeth yr oeddym yn mysg ynysoedd Maldive. Twr o ynysoedd yw y rhai hyn ydynt yn cyraedd o'r de i'r gogledd am 470 o filldiroedd; ac mae eu lled, sef o'r dwyrain i'r gorllewin, yn 70 o filldiroedd. Nid ydyw yr ynysoedd crybwylledig, ond rhyw bump' neu chwech o droedfeddi yn uwch nag arwynebedd y mor; ac mae y coed cocoa a dyfant arnynt, ac a welir yn gyntaf wrth nesau at yr ynysoedd, yn ymddangos fel pe byddant yn tyfu allan o'r mor. Dywedir fod y mor yn nghylchoedd yr ynysoedd yn hynod o ddwfn; ac nad oes gwaelod i'w gael yn y dyfnder o 200 gwrhyd. Mae trigolion yr ynysoedd yn bobl gyfeillgar a gwareiddied-

ig, a than lywodraeth Sultan, yr hwn oedd yn byw gyda'i warchodlu yn Male, neu Sultan Island. Ymddengys fod y trigolion yn forwyr ymarferol a phrofiadol, ac maent yn gwneyd llawer o fasnach yn Bengal, Chittagong, Ceylon, ac arfordir Malabar; a chan mai Mahometaniaid ydynt, y maent yn gwneyd mordeithiau i Gedda, ar y Mor Coch, sef y llongborth o'r hwn y cychwynir i Mecca.

Tua haner dydd gollyngasom angor yn Bay of Galle; ac yr oedd golwg prydferth ar y llwyni coed cocoanuts, oeddynt yn tyfu hyd at lan y môr. Yn fuan daeth nifer mawr o'r brodorion ar fwrdd yr agerlong; ac yr oedd nifer o honynt yn holi am ddillad i'w golchi, gan addaw dyfod a hwy yn ol yn mhen tair awr wedi eu golchi yn lan. Yr oedd ganddynt bapyrau oddiwrth bobl gyfrifol, a ymddiriedasant eu dillad iddynt er dangos eu bod yn ofalus a gonest. Eithr yr oedd rhai o honynt yn dangos papyrau o anghymeradwyaeth; ac yn rhybuddio dyeithriaid i beidio rhoddi eu dillad iddynt rhag cael eu twyllo. Ond ar y cyfan canfyddasom fod y nifer luosocaf o honynt yn sefyll at eu haddewidion, gan olchi y dillad yn lan, a'u dychwelyd yn ofalus yn mhen tair awr.

Y peth cyntaf fu raid i ni wneyd ar ol myned i'r lan mewn cwch main ac anhwylus, oedd chwilio am ryw westy i aros ynddo. Cefais ar ddeall fod dau westy da yn Galle, ac yr oedd eu prisiau yn well na hyny, sef punt yn y dydd! Wedi cryn drafferth cawsom ryw fath o le i fyrddio am bunt yn yr wythnos; ond brodorion oedd yn ei gario yn mlaen, fel braidd bob masnach arall yn y lle. Yr oeddym yn barod i weithio pe buasai modd taraw ar rywbeth yn werth gafael ynddo. Hawliai fy nghyd-deithydd ei fod ef yn alluog i gadw llyfrau, neu weithio fel clerc mewn maelfa; ond deallasom yn fuan na fuasai waeth iddo geisio ehedeg na meddwl am gael gwaith felly yn Galle; canys mae y brodorion yno wedi cael ysgol dda yn rhad, ac maent wedi dysgu ysgrifenu, rhifo a chadw cyfrifon. Nid oedd yn Galle ond ychydig o Ewropeaid heblaw milwyr; ac mae y brodorion yn gweithio yn hynod o rad. Mae yn y lle rai adeiladau da, yn enwedig eglwys Gadeiriol ardderchog y Pabyddion. Ceir yno hefyd aneddau prydferth mewn lleoedd dymunol, wedi eu hamgylchu yn hynod o dlws gan goed palmwydd.

Wedi aros dau ddiwrnod yn Galle, aethom gyda'r llythyr-gerbyd i Colombo, pellder 75 o

filldiroedd, dros ffordd dda, wastad, gyda glan y mor bob cam. Yr oedd y 'daith hon yn ddyddorol, a'r mor ar ein llaw chwith, yn ymddangos yn ardderchog, er fod ei donau yn rhuo, ac yn ymdori yn grychias ffrochlyd yn erbyn y glanau. Ar ein hochr dde yr oedd coedwig o balmwydd a chnau cocoa, yn eu llawn dwf, a llysiau o amrywiol liwiau, oll yn hardd a dymunol yr olwg arnynt. Hefyd, yr oedd pobl yn byw ar hyd y ffordd yn y cysgodion, mewn tai bychain, dymunol. Cyrhaeddasom Colombo mewn 12 awr, a hono ydyw prif ddinas ynys fawr Ceylon, gwlad y gemau a'r perlau. Wedi cyraedd yno clywsom fod llong o'r enw "Glanavon" newydd lanio yn y lle ar ol bod 43 o ddyddiau allan o Point de Galle; ac yr oedd pawb wedi ei rhoddi i fyny, gan gredu ei bod wedi myned i'r gwaelod. Ymddengys i'r llong gyfarfod yr hyrdd-wynt rhyfedd hwnw sydd yn moroedd yr India, a elwir *monsoon*, a chael ei chipio i'r mor, a'i gyru fel pluen ar frigau y tonau, pryd y chwythwyd ei hwyliau ymaith yn yfflon. O'r tu allan i'r ddinas y mae anedd-dai prydferth yr Ewropeaid, a lluesdai y milwyr. Yr oeddym yn myned heibio i ddwsin o honynt, yn y lleoedd mwyaf dymunol, oddiamgylch y ddinas, wedi eu gwneyd yn

agored i ateb yr hinsawdd, er cael awyr iach, os bydd yr awyr yn cynyrfu o gwbl. Colombo ydyw prif borthladd Ceylon, a bydd yn lle ardderchog pan orphenir dwfr-glawdd y porthladd. Mae tref fechan yn mharthau uchaf yr ynys, o'r enw Kandy, a rheilffordd yn ei chysylltu a Colombo, dros yr hon y rhed cerbydau ddwy waith y dydd. Lle iach a hyfryd ydyw, yn nghanol coed coffi. Aethom i aros y tro hwn yn Colombo, i *hotel* yn cael ei chadw gan y brodorion; ac yn fuan deallasom ein bod wedi syrthio yn mhlith lladron. Lladratawyd oriawr werthfawr fy nghyfaill, ac er ein bod yn sicr mai un o'r gwasanaethyddion oedd y lleidr, methasom a dyfod o hyd iddi ar ol chwilio ei goffr yn fanwl. Yn mhen ychydig o nosweithiau ar ol hyny, deliais y cnaf yn ceisio fy ysbeilio inau o'r gemau a wyddai oeddynt yn fy meddiant; ond drwy drugaredd methodd yn ei amcan, o herwydd fy mod yn rhy wyliadwrus, ac wedi gosod fy eiddo yn drap i'w ddal. Oddeutu un o'r gloch yn y boreu, tra yn llydan effro, clywais y drws yn agor. Nid oedd clo i'w roddi arno. Deallais yn ddiatreg fod y gwalch wedi dyfod i mewn i ysbeilio, a cherddodd yn ddystaw at y fan lle yr oedd fy *jewelry*, yn agos i ochr y gwely. Gadewais iddo ddechreu ar ei waith, yna neid-

iais i fyny, a rhuthrais i gorn ei wddf gyda holl nerth fy mreichiau a fy nwylaw. Gwasgais mor rymus, fel y bu agos i mi ei dagu i farwolaeth. Cododd hyn gynwrf ofnadwy drwy y ty, lle yr oedd gwaeddi a bloeddio yn fuan; ac mewn gwirionedd aeth pob peth yn bendramwnwgl. Er ein bod erbyn hyn yn gwybod mai hwn ladrataodd oriawr fy nghyfaill, eto er chwilio llawer methasom a chael dim o'i hanes. Prif gynyrch yr ynys ydyw coffi, cnau cocoa ac olew. Yn 1874, yr oedd gwerth y coffi yn £3,743,505, ond erbyn 1876 daeth gwerth y cnwd i lawr i £2,550,688; ac mae yn debyg mai parhau i leihau wna y coffi. Mae y brodorion yn ysgolheigion diail, ac yn dal swyddi uchel fel Barnwyr y llysoedd, ac aelodau yn y Parliament; eithr nid oes ond ychydig o honynt yn credu Cristionogaeth. Mae yn annichonadwy dweyd y gwahaniaeth rhwng y dynion a'r merched oddiwrth eu gwisgoedd, oddigerth yn y dinasoedd, lle maent yn gwisgo yn debyg i Ewropeaid. Gwisgant fath o ffrogiau, neu beisiau hirion, lleicion, wedi eu tynhau â chengl am y canol; ac maent yn cyraedd hyd at eu traed. Hefyd y mae y dynion yn gwisgo eu gwallt yn hir, yr un fath a'r merched. Reis gyda curry, ydyw eu hymborth. Y mae hwn yn ymborth

iach, a thra blasus, ac nid oes neb o'r Ewropeaid yn gallu byw hebddo yn yr India.

Wedi treulio ychydig amser yn Colombo llwyddais i gael lle yn arolygwr mewn chwarel, oddeutu milldir oddiyno, o'r hon y codid ceryg i wneyd dwfr-glawdd yn y dref. Ar ol myned i'r chwarel cefais mai wedi marw yr oedd y goruchwyliwr blaenorol; ac yr oedd morwr na wyddai ddim am chwarel wedi cael ei le, hyd nes y sicrheid gwasanaeth ei well. Yr oedd oddeutu 300 o'r brodorion ar y pryd yn gweithio yn y chwarel, a mwy na'u haner yn ddrwg weithredwyr, a orfodid i gyflawni llafur penydiol. Gwnaed fi a'r morwr, y pryd hwnw, yn gydradd i arolygu y gwaith; a chan fod fy nghyd-arolygydd mor awyddus am ei ffordd ei hun, a hono yn ffordd gyfeiliornus, yn ol fy marn i, penderfynais daflu fy swydd i fyny, yn mhen tair wythnos, ac aethym yn ol i Colombo. Yno cynygiwyd gwasanaeth i mi fel *diver*; ac yr oedd yno lawer o'r *divers* wedi eu hanfon o Brydain, i ymsuddo i'r dwfr wrth osod sylfaen y dwfr-glawdd; ond gan nad oedd yr hinsawdd yn dygymod a'u hiechyd penderfynodd amryw ymadael. Gan fod cyflog da yn cael ei gynyg am chwe awr y dydd o waith, gwnaethym fy meddwl i fyny i roddi prawf ar y lle. Aethym i mewn i ryw fath o dy, lle

yr oedd saith o'r ymsoddwyr yn rhoddi y wisg briodol am danynt; ac yn ddioed dechreuais inau ar y gwaith. Wedi ymwisgo, a rhoddi cap haiarn am fy mhen, yr hwn oedd yn pwyso agos i 50 pwys, teimlais yn debyg fel pe buaswn ar y crogbren. Aethym i'r cwch, ac yn fuan yr oeddwn yn ngwaelod y mor, 120 o droedfeddi o ddyfnder; ond yno yr oedd y cap haiarn mor ysgafn a het wellt gyffredin, a theimlais fel pe buaswn ymron a ehedeg yn barhaus. Yr oeddwn i wneyd gwaith saer maen, tra ar waelod y mor; ac yn fuan synwyd fi gan fy nerth mawr yno, canys yr oeddwn yn gallu lluchio ceryg mawrion fel y mynwn, gan nad oeddynt yn teimlo i mi yn drymion o herwydd dwysder y dwfr. Er fy mod yn cael digon o awyr yn gyffredin, eto, ar rai troiau, yr oeddwn yn methu cael fy ngwynt, ac yn teimlo fy mod ymron a mygu; yna penderfynais nad ydoedd yn lle iach, a bod y cyflog yn llawer rhy fychan, fel y bernais mai doeth ymadael. Credais mai gwell oedd i mi deithio y byd o begwn i begwn, na myned i lawr i waelod y mor i weithio yn mhlith y pysgod. Erbyn hyn yr oeddwn wedi bod yn Ceylon chwech wythnos. Ynys ydyw Ceylon, yn perthyn i gyfandir Asia; ac mae yn dyfod yn lled agos at dde-ddwyrain India. Ei hyd

yw 275 o filldiroedd, ac mewn un parth y mae yn 145 o filldiroedd o led. Cynwysa 15,678,-884 o erwau o dir, a 2,405,287 o bobl. Allan o'r nifer uchod yr oedd 4,732 yn Brydeinwyr, a 14,201 yn bobl wynion o wledydd eraill Ewrop. Ymddengys eu bod o ran eu crefyddau, neu eu credoau, fel y canlyn: Buddhistiaid, 1,520,575; Sivites, 464,414; Pabyddion, 182,613; Mahometaniaid, 171,542; Protestaniaid, 24,756; Wesleyaid, 6,071; Presbyteriaid, 3,101; Bedyddwyr, 1,478. Mae hanes ynys Ceylon yn dangos fod Buddha ei hun yno bedwar cant o flynyddoedd cyn Crist, yn pregethu ei athrawiaethau i'r bobl. Mae traddodiad yn mhlith y bobl, fod Buddha wedi cerdded i ben Mynydd Adams, lle mae ôl ei draed ar hyd y ffordd, wedi ei adael yn y graig, oddeutu troedfedd o ddyfnder, a'i fod i'w weled yno hyd heddyw. Mae yn amlwg mai twyll ydoedd hyn, gan mai mewn math o galch meddal y gwnaed ôl traed, ac nid drwy i Buddha suddo i'r graig galed. Pa fodd bynag, llwyddodd Buddha i gael y bobl i gredu ei athrawiaethau, o Affghanistan yn y gorllewin i China yn y dwyrain. Rhoddwyd allan orchymynion ar geryg mawrion, nad oedd un math o anifail i gael ei ladd na'i waed i gael

ei golli mewn unrhyw fodd; a dyna oedd natur deddfau crefydd Buddha.

Yr oedd sinamon a phethau eraill yn cael eu gwerthu yn Ewrop cyn Crist; eithr nid oedd neb o'r bobl yn gwybod dim am y wlad lle y tyfasant; ond yn y ganrif gyntaf, daeth eu hanes yn hyddysg i fasnachwyr deheubarth Ewrop. Anfonwyd llongau bychain i'r India, o ogleddbarth y Mor Coch; ac yr oeddynt yn glanio y rhan fynychaf ar ororau Malabar, neu yn Ceylon. Dychwelent yn ol yn gyffredin yn llwythog o elephantiaid, ifori, cregyn, sinamon, a nwyddau eraill. Erbyn y chweched ganrif yr oedd Ceylon yn cael ei hystyried fel canolbwynt i fasnach rhwng China a'r Mor Coch.

Yn y flwyddyn 1284 talodd y teithiwr enwog Marco Polo ymweliad ag ynys Ceylon, a rhoddodd ar ddeall i'r cyhoedd fod y trigolion o ran rhif a nerth, yn analluog i ryfela gydag un o alluoedd Ewrop. Dywedodd hefyd eu bod yn yfed diodydd meddwol oddiar y coed; a bod y *rubies* goreu, a phob math o berlau i'w cael yno, ond nad oedd yn ddichonadwy i neb ddringo i ben y mynydd a elwir Adam's Peak. Nid oedd llongau yn hwylio yn uniongyrchol i India na Ceylon, cyn y 15fed ganrif; a chyn hyny yr oedd yn rhaid i'r marsiandwyr

gario eu nwyddau dros ranau helaeth o'r ffordd drwy anialdir tywodlyd, o'r Mor Coch, yr hyn oedd yn gwneyd pob peth yn dra chostus. Y Portugeaid oedd y bobl fwyaf anturiaethus yn y bymthegfed ganrif, yn neillduol ar y mor-oedd; ac yr oeddynt wedi morio yn dra phell ar hyd arfordir gorllewinol Affrica. Gan eu bod yn dra awyddus am fyned yn mhellach, darfu i John, Brenin Portugal, yn y flwyddyn 1486, anfon Bartholemew Dias, yr hwn oedd yn forwr anturiaethus, gyda llynges o longau da, i'r dyben o geisio amgylchu cyfandir Aff-rica. Ar ol mordaith o amryw fisoedd am-gylchodd y Cape of Good Hope, heb wybod hyny; a chan ei fod yn methu canfod tir i'r dwyrain, hwyliodd i'r gogledd. Yn y cyfam-ser daeth i olwg tir i'r dwyrain o'r Cape; ac yr oedd yn awyddus am fyned yn mhellach i wneyd darganfyddiadau; ond gwrthododd y morwyr fyned gydag ef. Bu raid iddo ddych-welyd adref; ac o herwydd yr ystormydd a'r gwyntoedd erchyll a gafodd yn agos i'r Cape, galwodd ef Cape of Storms. Wedi i Dias ddychwelyd adref, a dweyd yr hanes wrth y Brenin, galwyd y Cape yn Cape of Good Hope, a dyna ydyw ei enw hyd y dydd heddyw.

Yn 1497 anfonwyd allan fintai arall o long-au dan arweiniad Vasco de Gama, o Lisbon,

Portugal; ac ar ol mordaith o ddeng mis glaniodd y morwr dewr ar lanau Malabar, gyferbyn a City of Calicut, India. Yn y dechreu yr oedd yr Hindus yn ymddwyn yn gyfeillgar tuag at bobl Portugal; ond yr oedd y fasnach dramor hyd yr amser hwnw, yn nwylaw y Moors. Edrychai y bobl hyn ar y dyeithriaid yn amheus, ac ymddygent tuag atynt yn anghyfeillgar; ond er y cwbl dychwelodd Vasco de Gama yn ol i Portugal, yn llwythog o'r nwyddau mwyaf gwerthfawr. Derbyniwyd ef gan y Brenin a'r bobl yn y modd mwyaf tywysogaidd; ac yr oedd holl bobl dinas Lisbon fel un gwr am ei anrhydeddu. Yn 1505 anfonodd Francasco D. Almeida, Llywodraethwr sefydliad Portugeaidd yn India, ei fab Lorenzo i chwilio am ryw longau a berthynent i'r Moors, y rhai a welwyd gan forwyr yn agos i Ymysoedd Moldive; ond o herwydd iddo gyfarfod gwynt croes, nerthol, cafodd ei chwythu yn agos i arfordir Ceylon, ac angorodd yno yn ymyl Colombo. Anfonodd y bobl genad at y Brenin i Cotta fel y canlyn. "Mae yn ein llongborth yn Colombo long o Portugal, sef rhyw le tu draw i'r mor; ac mae y dynion ynddi yn wynion, ac yn hynod o dlysion. Maent yn gwisgo esgidiau a hetiau o haiarn; ac maent yn hynod o fywiog, yn

bwyta ceryg gwynion ac yn yfed gwaed Mae ganddynt y magnelau mwyaf a welsom erioed, y rhai a wnant dwrf fel taranau, neu uwch na hyny. Mae eu pelenau yn ddigon nerthol i ddryllio cestyll i'r llawr." Dychrynodd hyn y Brenin yn fawr, yr hwn a alwodd ei ddoethwyr yn nghyd, i ymgynghori gyda golwg ar beth i'w wneyd, sef pa un ai myned i ryfel gyda'r dyeithriaid, ynte eu gwneyd yn gyfeillion. Trefnwyd i un o'r Llywodraethwyr fyned i lawr i Colombo, wedi ymwisgo fel dyn tlawd, i weled y dyeithriaid ei hun, fel y gallai ddweyd ei feddwl am danynt wrth y Brenin. Anfonodd y Llywodraethwr at y Brenin, ar ol gweled y dyeithriaid, ei fod yn meddwl mai cadw yn heddychol gyda hwy oedd oreu. Aeth swyddogion y llong i weled y Brenin, yr hwn a'u derbyniodd yn gyfeillgar iawn; a chyflwynwyd llawer o anrhegion drudfawr ar y ddwy ochr.

Ni ddychwelodd swyddogion Portugal yno ar ol y tro a nodwyd, am dair blynedd ar ddeg; yna hwy a ddychwelasant i'r ynys gydag ugeiniau o longau; ac mor fuan ag y glaniasant dechreuasant adeiladu cestyll amddiffynol. Erbyn hyn yr oedd masnachwyr eraill yn dechreu eiddigeddu wrth y Portugeaid, ac yn ofni eu bod yn mynu yr holl fasnach iddynt

eu hunain. Anogasant y Brenin i'w gwrthwynebu, a chyngorasant ef i dynu eu hamddiffynfeydd i lawr; ac amcanodd yntau wneyd hyny, ond i ddim dyben; canys yr oedd y Portugeaid yn drech na hwy, a bu i'r brodorion erfyn am heddwch. Yn ganlynol sylfaenodd y Portugeaid lawer o sefydliadau mewn gwahanol fanau ar yr ynys; ond yr oeddynt mewn rhyfeloedd parhaus, o herwydd gwahanol grefyddau, yn gyffredin.

Yn 1592, trodd yr Hollandiaid eu gwynebau tua Ceylon, a thrwy ryw foddion enillasant ffafrau y brodorion a'r Brenin. Anfonodd y *Dutch East India Company* lynges ar ol llynges i Ceylon, ond er y cwbl daliodd Portugal ei gafael yn Ceylon, neu ranau o honi, hyd y flwyddyn 1658, pryd y meddianodd y Dutch, neu yr Hollandiaid, eu lle olaf a chryfaf. Dywedir ddarfod i bobl Portugal fod yn annoeth, annheg, a chelwyddog gyda masnach yno, yr hyn a wnaeth i'r Singhalese, neu frodorion Ceylon, eu casâu yn ddirfawr. Protestaniaid oedd yr Ellmyniaid, ond gan fod y Portugeaid yn Babyddion, yr oeddynt wedi troi llawer o Freninoedd a phobl Ceylon i gredu Pabyddiaeth, yr hyn a gododd anghydfod mawr yn y wlad, a barhaodd dros amser maith. Yn y flwyddyn 1766, trodd y Llew

Prydeinig ei olygon tua Ceylon; eithr ni wnaed llawer o gyffro yn nghylch y pwnc hyd nes torodd rhyfel allan rhwng Lloegr a Holland yn y flwyddyn 1782. Anfonwyd cadlongau o Madras i aflonyddu ar yr Hollandiaid yn Ceylon, a chymerwyd y naill sefydliad ar ol y llall, hyd nes y cymerwyd y lle diweddaf yn 1782. Collodd yr Hollandiaid y lleoedd fuont yn eu meddiant dros 138 o flynyddoedd. Eithr ar yr adeg dan sylw nid oedd anghydfod Lloegr ond megys newydd ddechreu; canys hyd yr amser a nodwyd nid oedd y Portugeaid na'r Hollandiaid yn hawlio ond rhanau o'r ynys. Ymdrechodd Lloegr feddianu yr oll o'r ynys, ac ar ol blynyddoedd o ryfela cyrhaeddodd ei hamcan; ac yn 1815 daeth yr oll o Ceylon i feddiant Lloegr.

## PENNOD XII.

*Mordaith i India—Paul Davaagooloo—Taith i Madras — Hynodion y wlad — India fel gwlad i ymfudo iddi—Mordaith o Madras i Rangoon — Cynydd ac hynodion British Burmah—Mordaith i'r Straits Settlements—Ynysoedd Penang a Singapore—Pum' mis yn geidwad carchar—Prydferthwch yr amgylchoedd, &c.*

Wedi canu yn iach i'r cyfeillion, aethym i un o'r cychod meinion, hirion, i gael fy nghario i fwrdd yr agerlong, yr hon oedd gryn bellder yn y bau. Gan fod gwynt cryf yn chwythu ar y pryd, yr oedd y cafn cul a ddefnyddir yn gwch yn cael ei luchio ar frigau y tonau yn ddidrugaredd; ac heblaw hyny yr oedd yn gollwng dwfr mor gyflym, fel nas gallai y perchenog ei gadw yn ddiddwfr. Llefodd dau o honom nerth ein penau am gwch arall, ac ni wnaethom hyny fynyd yn rhy fuan, canys cyn i ni allu trosglwyddo ein hunain a'n celfi i fwrdd y llall yr oedd y cwch cyntaf yn llawn o ddwfr. Eithr o'r diwedd cefais fy hun ar fwrdd yr agerlong *Ethiopia*, yn yr hon y cymerais fy nghludiad i Tuticorin, tref fechan yn mharth deheuol India. Yr unig ymdeithydd heblaw fy hun oedd Paul

Davaajooloo, M. D., brodor o Bengal. Yr oedd golwg ddialgar ar Paul, fel y tybiais yn y dechreu; ond yn fuan deallais ei fod yn gallu siarad Saesonaeg, a chymerodd hyfrydwch mawr wrth adrodd hanes ei fywyd. Ymddengys fod Paul wedi myned ar agerlong o Calcutta, India'r Dwyrain, oedd yn rhwym i India'r Gorllewin, fel meddyg; ac wedi cytuno aros ar y bwrdd i gymeryd gofal cyrff y morwyr, ac ymbil dros eu heneidiau hefyd ar dywydd peryglus, hyd nes y dychwelai i Calcutta. Ond yn yr India Orllewinol, ymryddhaodd oddiwrth y llong, a chymerodd long oddiyno i Lundain. Dywedodd iddo gael ei droi yn Gristion yn Calcutta, a'i fod yn arfer pregethu yn ei iaith ei hun er's llawer dydd. Trodd i bregethu yn Llundain, a chafodd dderbyniad mynwesol gan y crefyddwyr, fel pagan diwygiedig, a ffrwyth y genadaeth yn yr India. Dechreuodd bregethu oreu gallai yn Saesoneg, ar hyd yr heolydd, ac yn y capelau; ac yr oedd yn cael hwyl anghyffredin. Gofynas iddo beth oedd wedi ei gynhyrfu i ddyfod yn Gristion; ac atebodd ei fod yn efrydu yn Calcutta, er cael ei raddio yn feddyg, ac wrth weled agerlongau, a pheirianau ardderchog o waith yr Ewropeaid, iddo gael ei argyhoeddi eu bod yn mhell yn mlaen ar bobl India; a chan fod

pob peth ganddynt yn well, credodd fod eu Duw hefyd yn well. Ar ol hyn, dechreuodd chwilio i grefydd yr Ewropeaid, ac aeth at y cenadon i ofyn cymorth, ac ni fu yn hir cyn deall a theimlo ei fod wedi cael gafael ar ryw beth gwell nag oedd ganddo yn flaenorol. Ei hoff waith oedd siarad am grefydd o hyd. O'r diwedd cyrhaeddasom Tuticorin, ac aeth Paul i chwilio am y pregethwyr, a finau i chwilio am le i fyrddio.

Mae adeiladau yn yr India a elwir Bungalaw, sef tai i deithwyr gael bwyd. Maent yn cadw cogyddion, i ddarparu ymborth; a bernir y gellir teithio felly yn llawer iawn rhatach na myned i westy; ond cefais y costiodd hyny fwy i mi o herwydd i'r cogydd gymeryd mantais ar fy anwybodaeth; yna penderfynais beidio aros yno ond 24 o oriau. Cefais y fantais i weled Duc Buckingham, Llywodraethwr Madras, yn y lle. Mae yn ymddangos fel hen ffarmwr boddlon a phlaen. Dywedir ei fod yn Llywodraethwr da a chraffus, ac nad oes dim yn cymeryd lle heb ei fod yn deall. Y mae yn hollol wahanol i'r Llywodraethwyr o ran ei ddiwydrwydd a'i weithgarwch. Nid oedd dim yn ddymunol yn nghylchoedd Tuticorin, canys, mae y wlad yn wastad am bellderoedd mawrion, a'r hin yn boeth. Nid oes ond ychydig o Ewropeaid yn byw yno.

Codais docyn i fyned gyda'r gerbydres i Madras, a deallais nad oedd ond dau Ewropead ar y tren. Daeth amryw o frodorion cyfoethog i mewn gyda Paul, y rhai oeddynt mewn gwisgoedd gwychion dros ben. Dechreuodd Paul siarad yn hynod o hwyliog, gan adrodd ei hanes yn Llundain, yn gyntaf o bob peth. Gofynodd un o honynt iddo, "Paul Davaajooloo, a oeddych chwi yn gwisgo tra yn Llundain yn ol ffasiwn pobl Ewrop?" Atebodd, "Oeddwn; ond yr oedd crys a choler a chadach gwddf, yn rhoddi mwy o boen i mi na dim arall, ac yn fwy annaturiol na'r holl ddillad eraill yn nghyd." Ebai un o honynt drachefn, "Paul, yr oedd yn rhaid fod llawer iawn o bres ar eich gwyneb cyn y gallech fyned i bregethu ar yr heolydd, ac yn nghapeli lle aruchel a dysgedig fel Llundain!" "Wel," ebe Paul, "cyn i mi gychwyn i'r daith hon, yr oedd arnaf ofn dweyd gair o flaen y Saeson, gan nad oeddwn yn teimlo yn deilwng o'u haddysg a'u gwareiddiad; ond wedi i mi fod yn Llundain am ychydig, deallais fod yno ddigon o bobl yn fwy anwybodus nag wyf fi, ac mor isel eu moesau a'u sefyllfa a neb. Bu hyn yn foddion i mi gymeryd calon, ac ymwroli, fel nad oeddwn yn ofni neb o honynt."

Sylwais ar y daith wrth fyned yn mlaen, ein

bod yn symud drwy wlad wastad, a chanoedd o'r brodorion i'w gweled yn mhob cyfeiriad yn llafurio y ddaear. Nid oedd newyn wedi anrheithio yr amgylchoedd hyn o'r India. Yr oedd amryw o fan-orsafau ar y ffordd, a'r Station Masters, a'r engine drivers oll yn Saeson neu Ysgotiaid. Wrth fyned drwy y man bentrefydd, sylwais nad oedd y tai ond bwthynod distadl, wedi eu gwneyd o laid, a hwnw wedi caledu yn yr haul. Yn eu plith yn aml yr oedd tai da y dosbarth cyfoethocaf. Yn ninasoedd Ceylon, y mae y pendefigion yn gwisgo yr un fath a'r Ewropeaid; ond yn India, maent yn wahanol, ac mae yr hwn a wisga het yn cael ei osod yn y dosbarth iselaf. Nid oes neb o'r pendefigion na'r brodorion cyfoethog yn myned allan heb *turban* neu *shawl* am eu penau, wedi ei lapio yn dyn; ac maent yn sefyll at eu hen ddefodau yn ffyddlon iawn, yn neillduol yfed dwfr o wydryn neu gwpan, yn y fath fodd fel na fydd i ymylon y llestr gyffwrdd yn y gwefusau. Arferant hefyd baentio eu talcenau. Ymddengys fod addysg yn uchel yn mhlith y brodorion arianog; ac yr oedd amryw yn y cerbyd gyda ni yn ysgolheigion campus, ar eu ffordd i Madras i fyned dan arholiad am y gradd o B. A., ac M. A., ac eto yr oeddynt wedi paentio eu talcenau.

Peth arall a ymddangosai yn rhyfedd i mi oedd, fod y merched yn dlawd a chyfoethog, wedi llwytho eu trwynau, eu clustiau a'u gyddfau a thlysau o emau ac aur. Mae llawer o'r clust-dlysau mor drymion fel y maent yn tynu y clustiau i lawr, ac yn eu dryllio yn llarpiau, nes y disgynant ar eu hysgwyddau! Gwelir yn aml gadwynau aur o'r ddwy ffroen neu y trwyn i'r clustiau a'r gwefusau. Diau fod y fath addurn trwm ac anhwylus yn boenus i'r merched; ond y fath ydyw ffasiwn, a rhaid ei dylyn.

Yn y prydnawn, daeth mynyddoedd uchel i'r golwg yn y pellder, ond nid oedd modd i mi ddeall pa fynyddoedd oeddynt. Erbyn 7 yn yr hwyr, cyrhaeddasom Madura, lle yr arosais dros y nos. Cefais le cysurus iawn i gysgu, gan fod un o'r brodorion wedi ei osod i weithio gwyntyll, (*fan*) uwch fy mhen, nes fy nghadw yn oer braf. Mae y cyfoethogion yn India yn cael eu ffanio yn barhaus ddydd a nos; ac er fod yr hin yn boeth yno, nid oes braidd neb o honynt yn gwybod beth ydyw chwys. Boreu dranoeth cymerais y gerbydres am Trichinopolee lle hynod am bob math o emau a pherlau, a thobaco yn ei wahanol ddulliau, cigars, &c. Edrychais oddiamgylch yno a gwelais lawer o bethau hynod, yna aethym yn mlaen i Ervodi

Junction, ar y Madras Railway, drwy wlad oedd yn llawn bywyd a dyddordeb. Arosais yn y lle hwnw hyd dranoeth. Yn foreu dranoeth, cychwynais am Madras, ac addawyd y byddem yno yn mhen deuddeng awr. Teithiais eto drwy wlad ddymunol, lle yr oedd llawer o bobl i'w gweled yn bur ddiwyd a gweithgar; wedi cyraedd y lle, aethym i aros yn Wellicks Hotel.

Madras ydyw y drydedd ddinas o ran maintioli a phoblogaeth yn India yn sefyll ar le gwastad, a'r dwfr yn llonydd ynddi, heb ond ychydig o rediad iddo, yr hyn sydd yn ei gwneyd yn afiach. Telais ymweliad a'r amddiffynfeydd, a chefais eu bod yn rhai hynod o gadarn. Er fod llawer o Ewropeaid yn byw yn y ddinas, ni welir nemawr un ar yr heol unrhyw amser, oddigerth mewn cerbydau; ant o'u hanedd-dai i'w hystorfeydd, o 10 i 12 o'r gloch, ac yn ol o dri i bedwar yn y prydnawn. Yr oedd yn boeth iawn yn y ddinas pan oeddwn yno, ac nid oedd modd cerdded oddiamgylch i weled y lle; felly llogais gerbyd i fy nghludo, ac ni chostiodd ond wyth *anas* yr awr, neu tua 25c. Yr oedd hyn yn bris llawer rhatach nag a godir yn Ceylon. Yr oeddynt wedi bod wrth y gwaith o adeiladu dwfrglawdd yno er's blynyddau; ond

dywedid, wedi'r cwbl, mai methiant hollol ydoedd, gan fod y mor hyd yn hyn yn dod i fewn yr un mor erchyll ag o'r blaen. Ofnai rhai na fydd y porthladd byth yn fwy diogel, a chyfleus. Math o oruchwylwyr neu ddynion yn masnachu ydyw yr holl Ewropeaid yn y lle. Bu raid i mi unwaith alw mewn banc yno; eithr ni welais ond un gwyneb gwyn yno yn nghanol tua haner cant o'r bodorion, ac felly yn gyffredin y mae gyda phob masnach. Hefyd, dywedir i mi fod brodorion India yn smartiach, yn gyflymach a chywirach rhifyddwyr a chadwyr llyfrau, na'r cyffredin o'r Ewropeaid; ac o herwydd eu bod yn gweithio mor rad, y maent yn parhau i ddisodli yr Ewropeaid o'r lleoedd goreu. Yr unig Ewropeaid llwyddianus yn India, nad all y brodorion eu troi o'u gwaith ydyw engineers, machinists, engine drivers, &c., ar y rheilffyrdd, a chyda'r agerbeirianau. Mae yr engineers ar ffordd Madras yn cael 300 rupees y mis. Mae rupee arian yn werth tua haner dolar. Gan nad oes adeiladu rheilffyrdd newyddion yn myned yn mlaen, y mae yn y wlad ddigonedd o beirianwyr i lanw y galwadau. Hysbyswyd fi mai Bombay ydoedd yr unig ddinas fywiog yn India, ar yr adeg hono.

Yr oedd llawer o siarad ac ysgrifenu wedi

bod yn newyddiaduron India a Ceylon er's amser, yn nghylch aur a ddarganfyddwyd yn rhandir Madras, mewn lle a adnabyddid wrth yr enw Wynnaad, gan Mr. B. Smyth, anturiaethwr adnabyddus o Australia. Yr oedd y gair ar led y byddai iddynt roddi California ac Australia yn hollol yn y cysgod o ran y cynyrch o aur; ond pan aethym i weled Mr. Arbuthnott y masnachwr cyfoethocaf yn ninas Madras, yr hwn oedd wedi gwario rhai miloedd o bunau yn Wynnaad, i chwilio am aur, cefais fy argyhoeddi nad oedd seiliau i'r hyn a gynwysai y newyddiaduron yn nghylch y mwngloddiau.

Yn ol y Ddeiliadeb ddiweddaf, yr oedd 64, 061 o drigolion British India yn enedigol o Brydain, sef 38,946 yn ddynion a 25,115 yn ferched. O'r rhai hyn yr oedd Calcutta yn meddu 8,320; Bombay 4,796; a Madras 1,306. Mae yn British India 44 o drefydd yn cynwys poblogaeth o dros 50,000. Calcutta yw y ddinas fwyaf, yn meddu poblogaeth o 794,645; yna daw Bombay yn ail, gyda phoblogaeth o 644,405; a Madras yn drydedd, gyda phoblogaeth o 397,552. Yn 1877 yr oedd oddeutu deg ar hugain o wahanol linellau o reilffyrdd yn India, yn mesur cyd-rhyngddynt dros 10, 000 o filldiroedd. Cotwm yw prif gynyrch y wlad; ac yn 1877 anfonwyd o hono i Loegr

werth 5,874,704*p*. Gyda'r Deyrnas Gyfunol y dygir y rhan fwyaf o'r fasnach yn mlaen; er y gwneir masnach lled helaeth hefyd gyda Ceylon, y Straits Settlements a China. A ganlyn ydyw ystadegaeth y gwahanol grefyddau yn India Brydeinig: Hindwaid, 139,248,568; Mahometaniaid 40,882,537; Bhuddiaid 2,832, 851; Cristionogion 897,216; Sikhs 1,174,436; Credoau eraill tebyg 5,102,823; Crefyddau anadnabyddus 1,065,445. Cyfrenir addysg dda i'r brodorion gan y Llywodraeth trwy yr oll o India. Mae tair o brif ysgolion yn Calcutta, Bombay a Madras, a graddiwyd ynddynt yn 1876 tua 1,934 o efrydwyr. Wedi'r cwbl, cyfrifir fod rhanau mawrion o'r India heb eu gwareiddio.

Digon gwan yr oeddwn yn gweled pethau yn Madras, felly penderfynais gefnu ar y lle. Cymerais docyn i fyned i Rangoon gyda'r agerlong India-Brydening *Asia*. Wedi i'r brodorion ddeall fy mod am fyned, yr oedd nifer mawr gyda chychod yn ymryson am gael fy nghario i'r agerlong oedd wrth angor o'r tu allan i'r feisdon. Gofynasant 4 rupees am fy nghludo; ond cytunais ag un am 1 rupee. Mae y cychod hyn yn fawrion, a rhaid cael tua dwsin o'r brodorion i'w rhwyfo drwy y tonau geirwon, ger y lan. Wedi fy nghael i'r

cwch, ac i ddwfr garw, dywedodd un o'r brodorion oedd yn medru ychydig o Saesonaeg, fod yn rhaid i mi dalu 3 rupee cyn y buasent yn fy nghymeryd yn ddiogel i'r llong. Dyna y *game* sydd i'w chael agos yn mhob man. Dywedais wrthynt fod pob peth yn iawn; a chan fod bachgen o'r gwesty gyda mi, yn dyst fy mod wedi cytuno am un rupee, yr oeddwn yn penderfynu eu trechu. Wedi cyraedd yr agerlong, rhoddais y rupee iddynt, a gelwais y bachgen yn dyst o'r fargen, ac edrychasant yn hynod o sarug arnaf. Penderfynasant ddyfod i fyny a mi yn y diwedd, a chodasant 1s. 6c. bob ffordd am gludo y bachgen, yna cawsant eu boddloni. Nid oedd ond tri o deithwyr heblaw coolies, neu ddynion i weithio ar amodau caethiwus; ac yr oedd yno 700 o'r rhai hyny ar y dec, yn myned i Rangoon, i weithio yn y meusydd reis. Galwodd yr agerlong mewn pump o borthladdoedd ar yr arfordir, ond nid aethym i'r lan yn yr un o honynt, oddigerth Cocanada, yr hwn oedd yn lle prydferth iawn. Canfyddais fod pethau yn hynod o rad yno. Gallaswn brynu par o esgidiau da yr olwg arnynt am haner dolar; hetiau, 37c., yn nghyd a phob math o gywrein-bethau a nwyddau eraill mewn cyfartaledd. Mae y wlad oddiamgylch yn hynod o ffrwythlon, a

gweithfeydd dwfr i ddyfrhau y tir. Galwasom mewn dau o leoedd eraill anarferol o brydferth, rhwng bryniau gwyrddleision, yn llawn o rosynau a blodau, cyn cyraedd Capaulpore; lle y mae gorsaf a swyddfa y pellebyr, a swyddfau pwysig eraill. O'r lle hwn yr oedd. ym yn ageru ar ein hunion am Rangoon, a chawsom y gwlaw mwyaf a welodd y Capten erioed am 30 o oriau. Yr oeddym yn y Bay of Bengal, ac yn mhen naw diwrnod o'r amser y gadawsom Madras, cyrhaeddasom y Pilot Station, sef hen long wrth angor, lle mae rhyw dri dwsin o'r pilots yn aros yn barhaus. Cymerasom un ar y bwrdd i'n harwain i mewn ar hyd yr afon am 30 o filldiroedd i Rangoon. Yr oedd y tir i'w weled ar y ddwy ochr, a'r dwfr wedi troi i liw coch, budr, sef lliw cyffredin yr afon. Yn mhen tuag awr a haner ar ol cymeryd y pilot i mewn, taflwyd potel dros y bwrdd yn cynwys hysbysiad am ein dyfodiad, yr hwn a gymerwyd mewn bad i orsaf y pellebyr, i'w anfon i Rangoon. Yr oeddym yn awr yn yr afon fawr Irawaddi, yr hon sydd yn tarddu yn Mynyddoedd Himalays; oddigerth cangen o honi sydd yn tarddu yn China, ac mae yn fordwyol am o 700 i 800 o filldiroedd. Hon yw y bedwaredd mewn maintioli o holl afonydd y byd. Y mae cryn lawer o fasnach ar ei

glanau; ond yr oedd Brenin Upper Burmah wedi troi yn erbyn y Prydeiniaid, a rhoddi rhybudd i bob un oedd yn siarad Saesonaeg, ymadael o'r wlad yn ddioed yr hyn a achosodd ddyryswch mewn masnach. Daeth llawer o longau i'r golwg, a'r nifer luosocaf o honynt wrth angorion, yma a thraw yn yr afon; ond yr hyn a dynodd sylw pawb oedd y Great Pagoda, sef un o'r temlau Paganaidd mwyaf yn y byd, y mae yn debyg. Saif hon ar fryn prydferth tu arall i'r dref oddiwrthym ni; ac mae mor uchel, fel yr oedd i'w gweled o bellder mawr, a thaflai bob adeilad arall i'r cysgodion. Yr oedd yn dysgleirio yn mhelydrau yr haul, fel aur coeth; ac mewn gwirionedd yr oedd pob peth o amgylch y deml yn orwych dros ben. Deallasom fod deg o agerlongau wedi cyraedd Rangoon cyn i ni ddyfod yno. Reis ydyw y prif gynyrch yn nghylchoedd y ddinas; ac nid oes yno lawer o fasnach, ond yn unig pan fydd y reis wedi ei gasglu i mewn i'w anfon i farchnadoedd tramor. Bydd canoedd o longau yn galw yn y lle; ac am bedwar mis yn nechreu y flwyddyn, ceir amser prysur iawn yno.

Glaniasom yn ddiogel, a chymerais gerbyd i'r British India Hotel; eithr nid oeddwn yn bwriadu aros ond ychydig yn y lle. Er fy

ngofid, cefais ar ddeall nad oedd agerlong yn myned i'r Stràits am wythnos, ac y byddai yn rhaid i mi aros yr holl amser. Yr oedd pawb yn y ddinas yn llawn ffwdan, o herwydd rhyw wyliau crefyddol oeddynt yn ddathlu; a synais weled cynifer o Ewropeaid yn yr heolydd. Golwg lled wael oeddwn yn weled arnynt, fel peth cyffredin. Rangoon ydyw prif borthladd masnachol British Burmah, ac mae y ddinas yn rhedeg gyda glan yr afon am ddeg milldir. Dywedir ei bod yn cynwys oddeutu can mil o boblogaeth; a phroffwyd-odd y cadfridog Grant pan oedd yno, y byddai Rangoon, yn mhen deng mlynedd eto, yn fwy pwysig mewn masnach na Calcutta. Yr wyf fi yn ameu hyny, er y dywedir fod yr holl ad-eiladau yn Rangoon wedi eu codi er yr amser y cymerodd Lloegr feddiant o'r lle yn 1851. Mae yr heolydd yn rheolaidd a llydain ac yn cael eu cysgodi gan goed dymunol, er hyny, a chymeryd Rangoon ar y goreu, nid ydyw yn lle dymunol i fyw, o herwydd ei bod am fwy na haner y flwyddyn mor annyoddefol o boeth, fel y mae yn berygl myned allan, oddigerth yn yr hwyr a'r boreu. Mae clefydau i raddau mwy neu lai yn mhob teulu, ac ar y tymor gwlawog, nid oes modd cadw dilladau rhag llwydo a phydru. Yr oedd nifer mawr o'r

milwyr, er mor ofalus ydynt, yn cael eu blino gan dwymynau (*jungle fevers*). Yn Rangoon gwelir llawer iawn o elephantiaid yn gweithio yn ufudd, diwyd, a deallgar. Aethym unwaith i weled un o'r melinau llifio coed, lle yr oedd pump o'r anifeiliad anferth hyn yn cludo coed o'r naill fan i'r llall, mor ddeallgar a bodau dynol. Cyn amcanu symud pren bydd y cawrfil yn ei fesur o un pen i'r llall gyda'i ddwryn (*trunk*) er cael allan ei ganol; yna yn ymaflyd ynddo gyda'i ddwryn a'i symud i'w le priodol. Gwelais gawrfilod yn y dull hwn yn cyflawni llafur chwech neu wyth o ddynion. Ac ni arddengys y creaduriaid unrhyw anfoddlonrwydd, er gorfod gweithio fel hyn yn ddyddiol, drwy y blynyddau.

Llogais gerbyd i fy nghludo i weled y Pagoda fawr. Ar ol myned drwy fath o borth 200 o llath o hyd, yr hwn oedd yn llawn o gardotwyr yn chwareu rhyw fath o offerynau er tynu sylw dyeithriaid, daethym i ben grisiau yn arwain i le y gwelwn ganoedd o'r Burmiaid yn ymgrymu o flaen eu duwiau. Mae yn ymddangos mai rhyw fath o gofadail aruthrol ydyw y deml hon, wedi ei hadeiladu, mor bell ag y gallaf ddeall, cyn amser hanesyddiaeth gredadwy. Dywedir nad oes un genedl ar y ddaear yn fwy ffyddlon gyda'u

credoau a'u crefydd, na thrigolion Burmah. Mae y deml yn gron, ac yn 300 troedfedd o uchder. Cefais fy siomi yn yr adeilad oddifewn, gan ei fod yn solid braidd i gyd. Mewn rhai o'r ystafelloedd oddi allan yr oedd math o dduwiau tebyg i'r eiddo y Chineaid; hefyd gwelais lawer o ystafelloedd yn yr ochrau, wedi eu llenwi a man dduwiau. Mae yno gloch anferth mewn maintioli, a dywedir fod y rhan fwyaf o'i defnydd yn aur pur. Clywir swn clychau yn barhaus, y rhai a gynhyrfir gan y gwynt. Mae y deml, oddigerth rhyw ychydig yn y gwaelod, wedi ei goreuro a dalenau aur; ac ymddengys fel twr anferth o aur solid. Er fod y tywydd, y gwynt a'r gwlaw yn curo yr aur ymaith oddiar y deml yn aml, gofelir am drwsio pob llecyn yn ofalus; ac mae cadw yr holl deml yn drwsiadus ag aur, yn costio miloedd o bunau bob blwyddyn. Yr oedd y deml yn cael ei chyfrif unwaith yn un o saith rhyfeddod y byd. Bum yn hwy nag yr oeddwn yn bwriadu, wrth edrych ar bob peth; a phan ddaethym i'r ffordd gwelais fod y dyn a'r cerbyd wedi blino yn aros wrthyf, a bu raid i mi gerdded yn ol i Rangoon. Ar y ffordd cyfarfyddais a milwr Ewropeaidd oeddwn wedi weled yn y gwesty, yr hwn a'm gwahoddodd i mewn i luesdai y milwyr, lle

y cefais dderbyniad croesawus ganddynt oll. Yr oeddynt wedi gwneyd y lleoedd yn hynod o brydferth, yn cynwys rhodfeydd glan, wedi eu haddurno a gwahanol fathau o flodau amryliw. Cymellwyd fi i fyned gyda hwy i'r *Hall* lle yr oedd ymrysonfa o ganu a dawnsio i fod y prydnawn hwnw, a chydsyniais i fyned; ac yno yr oedd tyrfa fawr o filwyr glan a golygus yr olwg arnynt, wedi dyfod yn nghyd. Ar y banlawr yr oedd chwech o honynt yn chwareu gwahanol offerynau cerdd, yn fedrus iawn; ond mor fuan ag yr aethym i fewn syrthiwyd arnaf i fod yn un o dri o'r beirniad, am y gweddill o'r dydd; a chan na chawn wrthod cydsyniais, ac ni edifarheais o herwydd rhoddwyd i mi bob parch. Cafwyd amser hynod o hwyliog trwy y dydd. Y Chineaid yw y prif fasnachwyr a'r prif weithwyr yn Rangoon.

O'r diwedd, cefais ar ddeall fod yr agerlong *Fitzpatrick*, o'r llinell perthynol i'r Chineaid, i gychwyn am Penang, a chefais fy nghelfi ar ei bwrdd mor fuan ag y gallwn. Codais docyn, a thelais yr hyn a ofynid am dano; ond wedi myned ar fwrdd yr agerlong deallais nad oedd ymborth i mi gael heb dalu mwy. Cytunais wedi hyny i dalu dau rupee y dydd am fy ymborth. Dranoeth, daeth tir i'r golwg, sef Siam,

ar ein llaw chwith. Ymddangosai y wlad yn un ddymunol iawn, yn cynwys tiroedd breision, yn cynyrchu agos i bob math o ffrwythydd, yn cynwys grawnwin, ffugys, eurafalau, pomgranadau, melons, &c., &c. Dywedodd cadben yr agerlong fod mwnau gwerthfawr yn y parth hwnw o Siam; ond tun oedd y prif fwn, lle mae miloedd o Chineaid yn gweithio. Aethym heibio i lawer iawn o ynysoedd ar ein llaw dde, ac yr oedd tir braidd yn barhaus yn y golwg ar yr ochr chwith. Cawsom fordaith gysurus ar y cyfan, a chyrhaeddasom Penang ar y pedwerydd diwrnod ar ol ein cychwyniad, yr hon sydd yn gorwedd yn y mor ddwy filltir oddiwrth lan gorllewinol Malay Peninsula; ac mae ei sefyllfa rhwng hydred 100° a 100° 9' dwyreiniol, a rhwng lledred 5° 16° a 5° 30′ yn ogleddol. Mae ei hyd yn 16 o filltiroedd, a'i lled yn 8 milltir, gydag arwynebedd o oddeutu 130 o filldiroedd ysgwar. Arferai yr ynys hon berthyn i Frenin Keddah; ond yn 1786 dechreuodd y Saeson ymsefydlu yno, a chytunodd yr India i'dwyreiniol i dalu teyrnged flynyddol i'r Brenin. Erbyn hyn y mae yr ynys wedi dyfod yn ganolbwynt masnachol pwysig i'r holl ynysoedd yn y parth hwnw; ac mae ynddi angorfa ddiogel i longau mawrion, mewn cysgod da. Tyf y balmwydd

en yno yn rymus, ac mae llawer iawn o olew y palmwydd yn cael ei anfon i Loegr, at wahanol ddybenion. Hefyd codir siwgr, tobacco, coffi, indigo, cotwm, reis, indrawn, &c., mewn cyflawnder mawr ar yr ynys. Mae yno goedwigoedd gwerthfawr at adeiladu llongau yn tyfu. Cyfrifir Ynys Penang fel *gem of the Eastern Seas*, ac mae yn meddu y coed a'r llysiau mwyaf dymunol a welir yn unrhyw fan. Mae ei phalasau i'w cydmaru yn ffafriol iawn a'r palasau gwychaf yn Calcutta. Hefyd mae Penang fel Singapore a Hong Kong, yn borthladd rhydd i holl longau y byd ; ac yr oedd yn hyfrydwch mawr cael myned i'r lan ac i westy heb fyned trwy dolldy i chwalu fy nghludgelfi ; a pheth arall, tra dymunol i mi yno, oedd cael bod unwaith eto mewn gwlad lle yr oedd doleri yn cynwys 100 cents yn arian cylchredol. Nid oes arian i'w cael ag sydd yn haws eu deall na'r rhai hyny. Wedi gorphwyso llogais gerbyd i fyned am tua phedair milldir, dros y ffordd fwyaf dymunol, i weled rhaiadr yr oeddwn wedi clywed llawer o sôn am dano ; ac yr oedd yn rhaiadr bychan ardderchog mewn lle dymunol. Dychwelais yn ol i Penang i gael gweled rhyfeddodau y dref, a threuliais ychydig ddyddiau yn bleserus iawn.

Yr oeddwn wedi clywed fod mwngloddiau o wahanol fathau ar y prif dir heb fod yn mhell o le o'r enw Laroot, a phenderfynais fyned yno. Aethym i weled Mr. Newbroner, y Trafnoddydd yn Nhalaethau Malay, ac yn Penang. Wedi ymddyddan gydag ef, rhoddodd lythyr i mi i fyned at Mr. Maxwell, Ustus Cartrefol yn Perak, yn erfyn arno fy mhenodi yn is-arolygwr y mwngloddiau alcan (*tin*) yn y lle. Y noson hono, am naw o'r gloch, aethym ar fwrdd rhyw fath o agerlong oedd yn rhedeg rhwng Penang a Laroot i gario tun a theithwyr. Yr oedd ar ei bwrdd oddeutu 150 o deithwyr, oll yn Chineaid, heblaw y fi a'r Cadben, yr hwn oedd yn beirianydd hefyd. Yr oedd y tywydd yn hynod o boeth, a gwnaethym fy ngwely ar y *bridge*, lle yr oedd y Cadben Smith, a'r peirianydd, yn cyd-hepian a mi. Erbyn boreu dranoeth yr oeddym wedi cyraedd yr afon, a'r efync i'w gweled yn mwynhau eu hunain ar ei glanau. Erbyn y cyrhaeddasom Laroot, sef ychydig o fythynod distadl, bu raid i mi logi rhyw fath o drol i fy nghario yn mlaen i Perak, wyth milldir yn mhellach. Yr oedd y ffordd hon yn un hynod iawn, a gwelais rai pethau hollol newyddion i mi, yn enwedig yr elephantiaid mawrion yn cario tun i'r farchnad. Bu gwlawogydd

trymion yn flaenorol, ac yr oedd llawer o'r ffordd o 12 i 15 modfedd dan ddwfr. Buasai yn anmhosibl cadw ar y ffordd oni bai fod marciau ar yr ochr allan o'r dwfr. Pa fodd bynag, yr oeddwn yn mwynhau y *ride* hon yn fawr, o herwydd newydd-deb y golygfeydd. Creaduriaid tra hynod yw y *water buffaloes* oeddwn yn weled yn mhob cyfeiriad, sef creaduriaid tebycach i ychain, neu *buffaloes* na dim arall, ond fod eu crwyn yn debyg i grwyn moch, neu grwyn cawrfilod. Gwna y rhai hyn waith mawr, os cant fod mewn dwfr yn barhaus; eithr mewn lle sych, diddwfr, y maent yn ddiwerth. Cyrhaeddais Perak, sef pentref mawr o bebyll yn llawn o Chineaid yn mhob cyfeiriad. Yr oedd anedd yr Ustus Maxwell i'w weled yn amlwg ar y bryn uchaf yn y lle; o'r tu cefn iddo yr oedd mynydd yn 3,000 o droedfeddi o uchder. Oddi amgylch y ty yr oedd nifer mawr o filwyr brodorol. Aethym yn mlaen, a gwahoddwyd fi i mewn, a chyfarfyddais a Mr. Maxwell, rhyw ysgogyn balch yr olwg arno, yn gwisgo gwydrau gleision. Dangosais iddo y llythyr; eithr ni bu ond ychydig amser cyn fy hysbysu fod yn rhaid i mi fyned i'r *headquarters* yn Singapore, cyn y gallwn gael fy ethol i'r swydd; felly gwelir fy mod wedi teithio yr holl ffordd yn ddiles i mi fy

hun. Penderfynais fyned i weled y mwn gloddiau cyn dychwelyd. Cyfarfyddais yno a phump neu chwech o Ewropeaid, ac Awstralian *diggers* oedd pedwar o honynt. Yr oedd un yn *inspector*, un arall yn *overseer*, a'r llall yn ddoctor. Daethai rhai o honynt i Malacca flynyddau yn ol i weithio mwn aur i gwmni Seisonig; ond pan drodd hwnw yn fethiant, llogwyd hwy gan y Saeson i wneyd y gwaith sydd ganddynt yn awr. Rhyw fan dyllau yn y ddaear ydyw y mwngloddiau yno, ac ni wneir dim braidd ond golchi y pridd, y graian, a'r tywod, i gael y mwn alcan. Mewn un man yr oedd 2,000 o Chineaid yn gweithio, eithr nid oedd y lle dyfnaf dros 100 troedfedd. Cychwynais i lawr i'r gwaelod i weled ansawdd y tir; ond hysbyswyd fi nad oedd rhyddid i mi fyned heb dynu fy esgidiau, a gadael fy ngwlawlen ar y lan, gan fod y Chineaid yn credu os ai rhywun i mewn i'r mwnglawdd ag esgidiau am ei draed, a gwlawlen yn ei feddiant, y difethid eu holl obaith am lwc dda yn y gwaith. Pan ddeallais hyn aethym o'r lle i weled y modd yr oeddynt yn golchi, yn toddi, ac yn gwneyd y mwn yn barod i'r farchnad. Mae y gwaith hwn yn hynod o syml, a dim yn neillduol newydd i'w ddweyd am dano.

Cefais lety y noson hono gyda'r *inspector*, a boreu dranoeth llogais yr un cerbyd i fyned yn ol i Laroot, lle daethym o hyd i Mr. Smith yn mwynhau ei hun ar fwrdd yr agerlong. Aethym ar fwrdd yr agerlong am chwech, yr hon oedd wedi ei llwytho yn drwm a'r tun o'r mwngloddiau; ac yr oeddwn yn dra awyddus am fyned ymaith, gan fod *mosquitoes* ymron a fy mwyta yn fyw. Erbyn boreu dranoeth cyrhaeddasom Penang, yn llwyddianus. Yn fuan deallais fod agerlong ar gychwyn am Singapore, ac aethym ar ei bwrdd yn ddioed. Deallais yn fuan mai y fi oedd yr unig Ewropead yn mhlith y teithwyr. Wedi talu fy nghludiad i'r Cadben yr oedd yn rhaid cytuno gyda'r cogydd am ymborth, a chostiodd i mi ddolar y dydd. Nid oedd genym ond 400 milldir o ffordd, eithr buom dri diwrnod a thair noson yn teithio, o herwydd arafwch ein bad, ac yr oedd y gwynt o'n tu hefyd. Mae golygfeydd ardderchog o longborth Singapore, ac wrth aros yn y bau, a pheidio dyfod i dir, gellir credu fod Singapore yn teilyngu y teitl, neu arwyddocad yr enw, *Garden of the East.* Cyfeiriais fy nghamrau i'r Singapore, Hotel, a chefais le cysurus. Mae yma lawer iawn o longau o bob math yn galw ar eu teithiau yn ol a blaen i China. Hefyd y mae llawer iawn

o agerlongau yn galw yn y porthladd, gan ei fod yn un rhydd, ac felly yn hwylus i fordeithwyr i wahanol barthau y ddaear.

Un o'r pethau cyntaf a wnaethym ar ol cyraedd Singapore oedd myned i weled Ysgrifenydd y Trefedigaethau, yr Anrhyd. C. Smith, yn nghylch cael gwaith yn Perak. Wedi myned i'w swyddfa, hysbysodd fi yn ddioed fod yn rhaid i mi wneyd y cais mewn ysgrifen, yna y cawn atebiad mor fuan ag y gallai. Gwnaethym hyny, ac yn mhen tri diwrnod aethym i'w swyddfa drachefn, er cael allan dros ba hyd y byddai yn rhaid i mi aros. Atebwyd fi y gallai rhai misoedd fyned heibio cyn y deuai fy nghais o flaen y Llywodraethwr, gan fod llawer o bethau o'r fath i ddyfod i'w sylw cyn y gallai weithredu ar fy nghais. Dywedais nas gallwn aros ar y telerau hyny; ac wedi dychwelyd i'r gwesty, cefais ar ddeall fod rhai yn gorfod aros chwe' mis, a mwy, cyn cael un math o sylw. Felly gwelir fod Llywodraethwr y Straits Settlements yn hynod o araf yn penderfynu pethau. Gan fy mod yn bwriadu aros yn yr ynys hyd nes y cawn lythyr oddiwrth gyfaill o New Guinea, ni chwynais; a phenderfynais fyned i chwilio am waith yn rhyw le arall. Er fod llawer allan o waith, cefais gynyg yn fuan ar ddau le, sef myned

yn heddgeidwad ar y *docks*, ychydig o Singapore, perthynol i gwmni agerlongau, neu fyned yn *warder* i garchardy drwg-weithredwyr. Daethym i'r penderfyniad y cymerwn un o'r ddwy swydd, ond yr oedd yn hynod o anhawdd cael allan pa un oedd yr oreu, ac nid oeddwn yn hoffi y naill na'r llall, gan na feddyliais erioed fyned yn heddgeidwad na *warder*. Nid oedd gwahaniaeth yn y cyflog yn y ddau le; a chan i mi gael ar ddeall fod yn haws ymadael o'r carchar ar ol blino ar y swydd, meddyliais am gymeryd hono. Fel heddgeidwad, buasai raid i mi edrych ar ol llwytho a dadlwytho y llongau, a chadw draw y drwg-weithredwyr. Pa fodd bynag, mentrais fyned yn *warder* i'r carchar; ond y diwrnod cyntaf, edifarheais yn fawr o herwydd i mi wrthod y lle arall. Yr oedd y profiad a gefais fel *warder* yn Singapore *prison* y diwrnod cyntaf, yn fwy dihoenus na'r diwrnod y gweithiais yn y môr. Wel, bum yno am dros bum mis, a dyna yr amser rhyfeddaf a dreuliais erioed. Hen filwr oedd yr arolygydd, tra adnabyddus yn yr holl gylchoedd, sef Major Gray, cefnder Lord Gray. Milwr hefyd oedd y pen-gwarcheidwad, neu *warder*, o'r enw Mitchal. Yr oedd pump eraill wedi eu hanfon o Loegr, a rhyw swyddogion milwrol oedd-

ynt oll ond tri o ddynion gwladaidd. Hodge a Blackshow oedd enwau y ddau gyfaill oedd-ynt yn ddynion cyffredin fel fy hunan. Yr oedd y lleill yn perthyn i'r 74 Highlanders, sef y gatrawd oedd ar y pryd yn Singapore. Yr oeddym oll yn bwyta yn y carchar, ond yr oedd yn rhaid i ni ein tri gysgu mewn adeilad mawr, y drws nesaf i Gartref y Morwyr, ac agos gymaint a hwnw, lle bydd weithiau o 100 i 200 yn aros. Nid oedd ond pump o honom ni yn y ty mawr hwnw, sef tri *warder* a dau *police inspectors*. Teimlais yn anarferol o flinedig am y dyddiau cyntaf; ac ni oddefid i ni siarad a'n gilydd, tra mewn gwasanaeth yn y carchar. Cynefinais a'r gwaith yn y cyfam-ser, ond nid oeddwn yn hoffi y lle o gwbl. Yr oedd yn y carchar rhwng 800 a 900 o ddrwg-weithredwyr; ac yn eu plith yr oedd o 40 i 60 o Ewropeaid, a thri o honynt yn Gymry, o Ogledd Cymru. Cawsant chwe' mis o gar-chariad am wrthod gwneyd eu gwaith, fel mor wyr ar y cefnfor. Yr oeddwn i yn gwarchod dros y rhai yr oedd eu carchariad am lai na chwe' mis, sef brodorion yr ynys, Chineaid a brodorion India, sef 254 mewn rhifedi, yn cael eu cosbi am ladrata. Yr oedd yno dros 500 o Chineaid, 200 o Malays, a'r gweddill yn frodorion India. Cefais arferiad da i ddysgu

ieithoedd tra yno. Ar y 4ydd o Mehefin, rhoddais i a Mr. Hodge fis o rybudd ein bod am ymadael, a derbyniodd Major Gray ein hymddiswyddiad.

Cynwysa y Straits Settlements ynysoedd Singapore, Penang, Malaca a Province Wellesly. Hefyd parth o'r prif dir, Laroot, Perack, a'r amgylchoedd, yn cynwys 234 o filldiroedd ysgwar. Singapore sydd ynys 27 milldir o hyd a 14 o led, yn cynwys 275 o filldiroedd ysgwar, yn cael ei gwahanu oddiwrth y prif dir gan gulfor tri chwarter milldir o led; ac mewn rhai manau nid yw ei led ond chwarter milldir. Cynwysa poblogaeth yr ynys, Ewropeaid, 1,000; Malays, 20,000; Chineaid, 55,000, a 14,000 o frodorion India. Gwelir mai y Chineaid yw y prif bobl. Cafodd y Cad. U. S. Grant a'i gwmni dderbyniad gwresog yno, ac ymwelsant a'r lleoedd goreu. Gan nad yw ond 1° 17' i'r gogledd o'r cyhydedd y mae yn lle cynyrchiol, a'r coedydd yn eu gwisgoedd gwyrddion drwy y flwyddyn, a golwg ddymunol ar y meusydd a'r gerddi, yn llawn ffrwythau a chynyrchion o wahanol fathau. Mae yn haf poeth yn Singapore drwy y flwyddyn, ond er hyny, nid ydyw can boethed a'r amser poethaf yn y Talaethau Unedig; ac mae awelon oeraidd o'r mor yn gwneyd y nos

yn dra dymunol. Fel ag yn India, Ewropeaid, sydd mewn swyddi uchel yn Singapore; ac maent mewn byd da, yn cymeryd eu hamser yn esmwyth. Mae tri o Gymry yn eu plith, sef Mr. Evans, dilledydd, Mr. D. Davies, *sail maker*, ac yn olaf, nid y lleiaf, J. D. Vaughan, Ysw., cyfreithiwr. Mae ef yn mhob peth yn un o'r rhai mwyaf blaenllaw a dylanwadol. Nid ydyw yn hollol hyddysg yn yr iaith Gymraeg. Dynion o Merthyr Tydfil yw Evans a Davies. Mae Singapore yn cynyddu, a llawer o adeiladu yn myned yn mlaen; a chredir y daw y wlad yn y cylchoedd hyny yn lle pwysig cyn hir, mewn te, coffi a mwnau, gan fod y Maraja of Johore yn agor ei wlad i fasnach a thrafnidiaeth.

## PENNOD XIII.

*Mordaith o Singapore i Hong Kong—Marwolaeth un o'r teithwyr—Golygfeydd hynod—Glanio yn Hong Kong—Merched yn rhwyfo cychod—Absenoldeb anifeiliaid, a dynion yn gwneyd eu gwaith—Hynodion yr amgylchoedd—Cael fy newis i fyned i arolygu gwaith yn Amoy—Dull hynod y Chineaid i fyw a marw—Maintioli y wlad—Ynys Formosa—Cyfarfod a Chymry—Helyntion y wlad—Yr hinsawdd &c., &c.*

Daeth y llythyr oddiwrth fy nghyfaill o New Guinea i law, ond yr oedd y newyddion yn hollol anffafriol; ac felly rhoddais heibio y cynllun i fyned yno; yna penderfynais fyned i Hong Kong. Cawsom fordaith hyfryd o Singapore i Hong Kong; ac yr oedd y Cadben Ross yn gwneyd ei hun mor ddedwydd ag y gallai er cael y teithwyr oll felly hefyd. Aethom heibio i lawer o ynysoedd yn y mor. Dengys y nifer mawr o agerlongau a gyfarfuasom ar y daith, fod llawer o fasnachu a morio y ffordd hono. Ar y trydydd diwrnod allan yn y mor, gwelais ryw fath o aderyn yn ymgodi i'r entrych o ben blaen yr agerlong; ac yr oedd papyr i'w weled yn amlwg yn hongian oddi-

wrth ei droed. Cyfeiriais sylw y cadben ato; ac aethom yn mlaen, er cael allan beth oedd, a'r achos o hono. Cawsom ar ddeall mai Chinead cyfoethog oedd wedi cael ei daraw yn glaf o'r colic; a darfu i'w gyfeillion a'i berthynasau oeddynt gydag ef, benderfynu anfon siaredydd (*parrot*) i gario llythyr i'w berthynasau yn Singapore, yn cynwys y newydd galarus! Eithr nid wyf yn gwybod a lwyddodd y *parrot* i gario y newydd i'r pellder o 450 o filldiroedd. Hyny oedd ei bellder ar y pryd o Singapore; ond pa fodd bynag, aeth yr aderyn yn ol yn yr iawn gyfeiriad, ar ol ehedeg yn ddigon uchel i gael cychwyniad da. Yr oedd yr holl Chineaid yn sicr y cyrhaeddai y *parrot* ben ei daith yn llwyddianus, ac yr oedd y cadben yr un farn hefyd. Beth bynag am hyny, yn mhen 24 o oriau, ehedodd bywyd y Chinead ymaith, ond fe allai mai i ryw gyfeiriad gwahanol i'r aderyn yr aeth. Wel, bu y Chinead farw ar y mor, a chan fod yn arferiad gan y Chineaid gyrchu cyrff eu cydwladwyr adref i'w claddu mewn bedd, a chan fod y cadben wedi gorchymyn i'w gladdu yn y mor, yn ol yr arferiad cyffredin, yr oedd y Chineaid mewn ofn a dychryn mawr. Ond o herwydd fod ganddynt ddigon o arian, buont yn llwyddianus i gael y cadben i wneyd arch

i'r marw, i'w gludo i'r lan. Gwnaed arch, a rhoddwyd y corff ynddi, gyda digonedd o bob math o ymborth maethlon, megys reis, teisenau a seigiau breision, yn ol arferiad y Chineaid. Ar ol cau yr arch i fyny, rhwymwyd hi wrth ochr y llong i'w chario i ben y fordaith.

Oddeutu pump o'r gloch prydnawn y pumed dydd allan, canfyddasom ryw wrthrych yn y mor a ymddangosai fel cwch agored, gyda thri neu bedwar o ddynion ynddo. Gan fod agerlong wedi colli yn ddiweddar yn y cyfeiriad hwnw, meddyliodd ein cadben y gallasai rhai o'r dwylaw fod mewn cwch, yn cael eu lluchio ar frigau y tonau, ac aeth allan o'i lwybr mewn trefn i ddeall beth oedd y gwrthrych a ymddangosai mor hynod; a chan fod y nos yn ein dal a'r tywyllwch yn casglu o'n hamgylch, bu raid i ni fyned yn agos ato cyn deall beth ydoedd. Yr oedd ein siomedigaeth yn fawr ar ol myned mor bell o'n llwybr, pan welsom mai coeden enfawr ar lun cwch ydoedd, a'r cangenau toredig yn ymddangos yn y pellder fel cynifer o bersonau! Mae y dychymyg a'r dysgwyliad yn aml yn creu ffug ddelweddau o flaen y meddwl; fel y bydd ofnau plant bychain a mawrion, yn troi pob careg a thwmpath yn y nos yn fwgan atgas!

Cyfeiriasom ein hagerlong i ysgogi yn yr

iawn ffordd am Hong Kong; ac yr oedd y tywydd yn dyfod yn fwy dymunol a hyfryd nag y bu er's amser. Yr oedd yr oerni yn dra dymunol, ar ol y poethder eithafol a ddyoddefasom dros dalm o amser. Denwyd ein sylw yn arbenig gan nifer mawr o ynysoedd bychain, noethlwm, oeddynt yn neidio i'r golwg yn dra mynych, oddiamgylch y rhai yr oedd nifer mawr o gychod pysgota; ac yn mlaen y moriasom drwy wahanol olygfeydd, fel erbyn tri o'r gloch y seithfed dydd, yr oeddym wedi angori yn Hong Kong, yn mysg nifer mawr o longau ac agerlongau. Yn ddiatreg daeth llu anferth o gychod mawrion, a elwir *sanpans*, yn cael eu rhwyfo gan ferched, o'n hamgylch; ac mae y merched hyny yn gwneyd eu gwaith yn gyfartal i'r goreu o'r dynion. Mae y cychod hyny yn fwy na'r rhai welir yn Ewrop; ac mae llian wedi ei osod ar y pen ol i gadw dryghin draw. Mae teuluoedd yn byw yn barhaus yn y rhai hyny—y gwr, y wraig a'r plant oll yn cydweithredu am ei bywiolaeth. Aethom i'r lan yn un o'r badau hyny.

Nid oedd genyf un drychfeddwl yn mha le i aros yn Hong Kong; ac mewn gwirionedd, nid oes ond ychydig o leoedd i'w dewis. Cyfrifir *Hong Kong Hotel* yn *first class*—pris, $3 a $ y dydd; *State Hotel*, yn Queen's Road,

$2 a $2 50 y dydd; ond cefais fod y *Temperance Hotel* ychydig yn rhatach; ac o herwydd hyny arosais yn hono. Nid oedd dim i'w ganmol ynddi, ac yr oedd gwr y ty ar ei spri bob dydd. Rhaid dweyd, pa fodd bynag, fod yno lyfrgell dda, ac ynddi y gwelais newyddiaduron Americanaidd, oeddynt ar y pryd yn dra dyeithr i mi. Wel, y peth sydd yn taro dyn o Ewrop gyda hynodrwydd mawr, mor fuan ag y daw i ddinasoedd China, yw absenoldeb ceffylau a cherbydau. Defnyddir cadeiriau i gario pobl ar hyd yr heolydd, a cherir y dyn trymaf gan ddau Chinead ar hyd heolydd sythion Hong Kong, am o 10 i 20 cent yr awr. Yn mhob gwaith, a chyda phob peth a ddygir yn mlaen, nerth neu allu dynol a ddefnyddir i wneyd y caledwaith trymaf. Maent fel pe buasent wedi hollol ymwrthod a phob llafur drwy beirianau neu nerth ceffylau, ac ni cheir dim ond gwaith llaw, drwy nerth braich ac ysgwydd; ac mae y rheilffordd a adeiladwyd o Shanghai gan gwmni Seisonig, wedi ei phrynu gan awdurdodau China, y rhai a godasant y cledrau, ac a wnaethant yr holl ffordd yn gydwastad a'r llawr, ar ol talu pob ceiniog am dani! Cymerasant y cerbydau, y cledrau a'r peirianau, a thaflasant y cwbl yn bendramwnwgl i'r pydew. Dywedant y bydd i'r fath

wellliantau ag ydyw rheilffyrdd, ysbeilio y bobl o'r llafur y bwriadwyd iddynt ei gyflawni mewn trefn i enill eu cynaliaeth !

Daeth trefedigaeth Hong Kong, sef ynys ddrylliog a chreigiog, a alwyd gan y Portugeaid yn Ladrones (neu Ynys y Lladron, am iddynt gael y brodorion yn yr amseroedd boreuaf yn nodedig o ladronllyd), i feddiant Prydain yn Awst, 1842; a Koolong, sef rhan fechan o dir ar yr ochr arall i'r angorfa, yn 1861. Mae Ynys Ladrones—yn awr Victoria Island—ar yr hon y saif dinas Hong Kong, yn un-milldir-ar-ddeg o hyd, ac o ddwy i bump o led. Mae y mynydd uchaf ar yr ynys yn 1,809 o droedfeddi uwchlaw arwynebedd y môr, ac amgylchir ef yn fynych gan niwl, fel na bydd modd gweled y *flag-staff* a'r arwyddion ar ei gopa. Cyfrifir fod poblogaeth Hong Kong tua 200,000, o'r rhai y mae 7,000 yn Ewropeaid ac Americaniaid, yn cynwys 1,000 o filwyr, am wasanaeth y rhai y telir 20,000 o bunau yn flynyddol i Loegr. Yr Anrh. John Pope Hennessey, Gwyddel gwladgarol, oedd Llywodraethwr y Drefedigaeth, a derbyniai gyflog o £5,000 yn y flwyddyn, ond mae y swm erbyn hyn wedi ei godi i £6,000. Yn ystod fy arosiad yn Hong Kong, ymwelais a Koolong, Happy Valley, y Gerddi, a phob lle

arall yn y cylchoedd allaswn feddwl oedd o ddyddordeb. Cwm bychan nodedig o brydferth, ac yn cael ei drin fel gardd, yw yr Happy Valley; ond am y Gerddi, y rhai ydynt ar lechwedd bryn uwchlaw Ty y Llywodraeth, nis gallaf gofio am ddim gwerth ei grybwyll yn perthyn iddynt, er fod gan yr Hong-Kongiaid feddwl mawr o honynt. Chwareua y seindorf filwrol yno dair noson o bob wythnos, ac ar yr adegau hyny goleuir y gerddi gyda *Chinese lanterns;* ac os bydd y tywydd yn ffafriol, ymgynulla tyrfaoedd mawrion o bob gradd a lliw yno.

Yn ystod y tair wythnos yr arosais yn Hong Kong a'r amgylchoedd, ymddangosodd ymofyniad yn y newyddiaduron, am *Clerk of Works*, i fyned i fyny i Amoy, China, i arolygu gwaith oedd ar gael ei ddechreu yno; ac am fynylion pellach cyfeirid at Mri. Wilson & Bird, *Architects and Engineers*, Hong Kong. Aethym i'w gweled, ac ar ol ychydig ddyddiau cefais fy mod wedi fy newis ganddynt i'r gwaith, allan o nifer mawr o ymgeiswyr; ac ar ol ffarwelio a'r cyfaill Hodge, yr hwn oedd wedi agor masnach iddo ei hun, aethym ar fwrdd yr agerlong *Douglas*, i fyned i'r lle hwnw at y gwaith crybwylledig. Mae yr olwg ar y ddinas oddiar y *bay* ryw beth yn

debyg i Antananarino, Madagascar—yr adeiladau yn ymgodi y naill uwchlaw y llall. Yn agos atom yr oedd un o agerlongau San Francisco, yr hon oedd y fwyaf o lawer yn y *bay*. Yr un amser, cychwynai y *French mail* i Shanghai, a chadwasom yn agos ati trwy y Ly-ee-moon Pass, yr hwn sydd tua haner milldir o led, a'r cilfachau ar y ddwy ochr yn cael eu gwrteithio yn rhagorol gan y Chineaid. Yn awr ac eilwaith, ceid golwg ar chwarelau ithfaen rhagorol; a gallaf ddweyd mai lle da yw China am geryg at adeiladu. Wedi pasio drwy y fynedfa, ymadawsom a'r agerlong Ffrengig, gan gyfeirio tua Swatow. Pan godais y boreu canlynol, canfyddwn fynyddau noethlwm yr olwg arnynt ar y chwith, ond wrth ddynesu atynt, ymddangosai fod John Chinaman yn gallu gwneyd defnydd o amryw lanerchau ar hyd-ddynt, ac yn y cilfachau iselaf gwelid siwgr, reis, a phethau eraill yn tyfu yn olygus iawn. Yn mhen awr a haner wedi cyraedd genau yr afon lydan, angorasant o flaen tref Swatow, lle isel ar ein deheu, heb ddim neillduol yr olwg arno, ond y lluosogrwydd o dai bychain. Yr ochr arall i'r afon, cartrefa yr Ewropeaid a'r Americaniaid. Aethym i'r lan yn Swatow, a llogais arweinydd i ddangos i mi y parthau rhyfeddaf. Yn

union ar ol glanio, deuir at fasnachdai Ewropeaidd, ond aethym heibio y rhai hyny i'r rhan Chineaidd o'r dref, trwy ystrydoedd saith neu wyth troedfedd o led, ac wedi haner eu toi. Cyfarfyddid yn barhaus a'r trigolion gyda'u beichiau, a dylynid fi gan dri neu bedwar o gardotwyr. Yr oedd rhyw beth i'w werthu ar bob llaw; ac yr oedd pob twll mor llawn o ddynolryw fel mai rhaid oedd defnyddio y penelin i weithio fy ffordd drwyddynt. Weithiau, byddwn yn sathru ar droed ci neu fochyn, a mawr y drafferth cadw i fyny â'r arweinydd. A chan fod yr ystrydoedd yn myned yn fwy culion, budron, a drewllyd, gorchymynais fy nghymeryd yn ol y ffordd gyntaf, threuliais y gweddill o'r dydd ar fwrdd y *Douglas*.

Tuag wyth o'r gloch yn yr hwyr, cychwynwyd tuag Amoy, a chyraeddwyd yno yn mhen deuddeng awr. Yr oedd yn y porthladd pan gyrhaeddasom, bedair o agerlongau a phymtheg o hwyl-longau. Mae y fynedfa i'r lle yn dra thebyg i'r eiddo Swatow—tref Amoy ar y dde, a Koolongsoe, sef ynys lle y trigiana yr Ewropeaid, gyferbyn. Nid oedd dim wedi ei ddarparu ar fy nghyfer, a chan nad oedd neb o'r Ewropeaid yn cadw byrddwyr, am bris yn y byd, cefais gryn drafferth i wneyd cartref. Gwneir yr Ewropeaid—tua dau gant o honynt

mewn nifer—i fyny o drafnoddwyr, *pilots*, masnachwyr, swyddogion cyllidol, neu rai mewn swyddau enillgar eraill, ac maent oll o'r bron yn byw yn gysurus gyda'u teuluoedd, mewn aneddau helaeth a gwychion, ac heb angen neb arall yn eu teuluoedd. Felly nid oedd dim i'w wneyd ond rhentu yr unig dy oedd i'w gael yn Koolongee, yr hwn oedd yn cynwys wyth o ystafelloedd. Prynais wely mawr er mwyn iddo lanw tipyn ar y ty; hefyd esmwythfainc, haner dwsin o gadeiriau, a dau fwrdd; a chan fy mod tra yn Singapore a Hong Kong, wedi cael paentio ar raddfa helaeth tua dwsin o luniau oedd genyf o'm perthynsau a'm cyfeillion, a rhwng pob peth—*baggage* ac oll—llwyddais i lanw *un* o'r wyth ystafell, a dim ond un. Felly, gyda'r eithriad o ychydig daclau at goginio, yr oedd saith o ystafelloedd fy nhy yn weigion.

Y pwnc nesaf oedd cael bachgen i goginio fy ymborth, a chyda hyny ni chefais nemawr drafferth. Ond mae y bechgyn hyny wedi eu dyfetha gan yr Ewropeaid cyfoethog, fel nad oes modd cael gan un o honont wneyd dim ond ei waith arbenig ei hun. Yr oedd fy nghogydd yn rhy falch i gario dwfr, glanhau esgidiau, na dim o'r fath. Ni wnai ddim ond coginio, a gorfu i mi logi un arall i lanhau y

ty, gwneyd y gwely, glanhau esgidiau, &c. Yn mhen ychydig ddyddiau, gwrthododd hwnw eto gario dwfr, er fod digonedd o hono i'w gael mewn ffynon tuag ugain llath o bellder. Tybiais eu bod yn cymeryd mantais arnaf, ac anfonais y ddau i ffwrdd yn uniongyrchol; eithr hysbyswyd fi gan yr Ewropeaid mai ofer ymresymu a hwynt, na wnaent ddim yn wahanol. Gan hyny llogais dri o ddynion mewn oed i wasanaethu arnaf, ac yr oeddwn o angenrheidrwydd yn teimlo yn chwyddedig iawn, pan yn gorwedd ar fy esmwythfainc yn y lle ffasiynol hwnw, gyda thri o weision wrth law yn barhaus.

Yn nesaf, yr oedd yn rhaid cael cwch, neu *sanpan*, fel y gelwir ef (tua 12 troedfedd o hyd) i groesi yn ol ac yn mlaen i Amoy, lle yr oedd y gwaith; a thrwy fod yn rhaid croesi bump neu chwe' gwaith yn y dydd, y ffordd rataf oedd llogi *sanpan* yn hollol at fy ngwasanaeth, am swm penodol y mis. Felly, rhwng pob peth, gwelir fod dechreu byw yno yn gryn anturiaeth. Cymerai i mi tuag ugain mynyd o amser i groesi y bau, yn nyfroedd yr hwn y gwelir yn aml *white porpoises* yn chwareu. Ar y ffrynt, y mae amryw o fasnachdai Ewropeaidd; a dyna y lle yr oedd fy ngwaith i fod, sef arolygu y Chineaid wrth adeiladu *sea wall*, ariandy mawr, &c.

Un o'r dyddiau pwysicaf yn nghorff yr holl flwyddyn yn y parthau hyny a thrwy holl ymerodraeth China, ydyw Chwefror y 17eg, a'r diwrnod hwnw cyflogais arweinydd i fy nghymeryd drwy ddinas Amoy, i weled y pethau rhyfedd y sonia y Chineaid gymaint am danynt. Y lle cyntaf yr aethym iddo oedd math o deml eu duw Josh, a elwir Josh House, wedi ei osod ar yr heol, oddeutu chwe' throedfedd oddiwrth y ddaear, fel y gellid cerdded dano. Mesurai o 25 i 30 troedfedd o hyd, a thuag 8 troedfedd o led, neu lawn led yr heol. Yr oedd y deml wedi ei haddurno drwy ei goreuro oddifewn ac allan, ac yr oedd yr eilun dduw Josh a golwg ardderchog arno, wedi ei amgylchu a phob addurniadau. Wedi cerdded tua deugain llath i fyny yr heol, daethym at deml arall yr un mor hardd, os nad harddach. Deallais fod y rhai hyny i'w cael yn yr un pellder oddiwrth eu gilydd drwy yr holl ddinas, os byddai yr heolydd yn ddigon llydain. Dan yr amgylchiadau hyny mewn lleoedd culion, darperir lle i Josh yn yr ystordai; ond yr oedd yn rhaid iddynt fod yr un bellder y naill oddiwrth y llall.

Deallais yn fuan mai am 8 o'r gloch yn yr hwyr y gwelid y rhyfeddodau mwyaf; ac yr oedd yr holl heolydd yn llawnion o edrych-

wyr, a cherddoriaeth offerynol i'w glywed yn mhob cyfeiriad. Oddifewn i'r ty neu y deml, yr oedd offeiriad yn ysgrifenu rhywbeth ar bapyr goreuredig, yn union o flaen y duw Josh. Am 8 o'r gloch yn union neidiodd yr offeiriad ar ei draed, a thaflodd y papyr melyn ar yr hwn yr oedd wedi ysgrifenu rhywbeth, i dân oedd newydd ei oleuo ar yr heol. Taflwyd llonaid basgedau o bapyrau eraill i'r tân, ac ar amrantiad, wele luoedd yn taflu *fire-crackers* i'r tân, gan floeddio allan yn uchel ar haner canu, ac ar yr un pryd curent biseri tuniau, a llestri eraill, yn eu gilydd, a churwyd tabyrddau, chwythwyd cyrn, a gwnaed pob math o oernadau, a swn, na chlywais ei gyffelyb erioed o'r blaen, a gobeithio na chlywaf byth mwy. Rhaid i'r bobl a drigianant yn y lle fyned i'r holl gostau i adeiladu y tai hyny, drwy i bawb gyfranu yn ol eu gallu, tuag at gael digon o bob peth yn y dyfodol. Yr oeddynt yn anfon at yr awdurdodau goruchel am ymborth, a phob peth arall at eu hangenion am flwyddyn, megys arian, dillad, &c. Yr oedd enwau y cwbl wedi eu hysgrifenu ar y papyrau a nodwyd yn flaenorol, y rhai a anfonwyd i fyny i'r goruwch-leoedd, neu i'r nefoedd, yn y mwg, y tân, a'r gwreichion—y bloeddio, yr oernadau, a'r twrf mwyaf ofnadwy. Ar ol

hyny codwyd banloriau i fyny yn mhob cyfeiriad, tua llathen oddiwrth y ddaear; yna dechreuodd y *sing song* o ddifrif calon, sef chwareu y Chineaid. Maent yn cyfrif y chwareu hwn hefyd fel addoliad pwysig iawn, yr hwn a gedwir i fyny yn barhaus o'r boreu hyd y nos. Rhaid i bawb fyddo am basio ar yr heol y ffordd hono ymgripio o dan yr esgynlawr. Mae eu canu yn hollol annaturiol i mi, ac ni chlywais lais canu mewn gwirionedd gan neb o honynt, yn ol barn Ewropeaid am ganu; ac am eu hofferynau cerdd, y mae y rhai hyny yr un mor annerbyniol genyf, ond y mae yn eu meddiant lawer iawn o amrywiaethau o honynt. Maent oll yn llawn o felodedd a miwsig perseiniol i glustiau y Chineaid, ond i fy nghlustiau Cymreig i, yr oedd eu swn yn debyg i'r swn a wna Evan yr hogwr yn ei weithdy wrth hogi llifiau; eto, hawlir gan y Chineaid eu bod yn mhell o flaen yr Ewropeaid fel cerddorion lleisiol ac offerynol. Maent hwy yn credu eu bod yn rhagori cymaint ar bobl Ewrop fel cerddorion, ag yr ydym ninau yn tybio ein bod o'u blaen hwythau. Maent yn dra hoff yno o'r *brass band*, a chredant fod yr Ewropeaid yn gallu chwareu yr offerynau hyny, ond nid agos cystal ag y gallant hwy. Dyna fel y mae chwaeth yn myned, ac felly y mae pob math o fwyd yn cael ei fwyta.

Mae y Chineaid hefyd yn credu yn gadarn a diysgog fod eu crefydd hwy yn tra rhagori ar holl grefyddau y byd, a'i bod yn hynach o filoedd o flynyddoedd na'r un grefydd arall mewn bodolaeth; ac y mae y ffaith eu bod hwy yn tybied eu hunain yn uwch, ac yn fwy perffaith na chenedloedd eraill, yn eu gwneyd yn rhai tra anhawdd eu troi, a'u hanog i fabwysiadu unrhyw grediniaeth dramor a dyeithr. Ychydig iawn, iawn, sydd yn cael eu troi i gredu Cristionogaeth; ac y mae pob hanes diragfarn yn profi nad ydyw Cristionogaeth yn cael dylanwad mor effeithiol ar bobl China, ag a gafodd Mahometaniaeth a Buddhistiaeth; ond gan fod y cenadon yn well am ddweyd eu hanes yn China a lleoedd eraill, ac am grefyddau, gadawaf y gorchwyl iddynt hwy.

Trwy garedigrwydd dau foneddwr cefais ryw fath o bleser-deithio gyda'r arfordir am o leiaf ugain milldir, yn mhob cyfeiriad lle y gallai cwch fyned. Galwasom yn y pentrefi lluosog ar y glanau; a thrwy fod un o'r boneddwyr yn gallu siarad y Chinaeg yn rhugl, cawsom well hwyl gyda'r brodorion. Mae y pentrefi hyn yn amgylchoedd Amoy yn lled agos yn mhob cyfeiriad, ac mae golwg ddymunol iawn arnynt o bellder. Gwelir tai bychain, gwynion, yn llechu yn nghysgod y

coed, y rhai sydd yn cael eu hamgylchu gan erddi a meusydd *rice* hyd odreon y mynyddoedd. Ond fel yr oeddwn yn dysgwyl, cefais fod yr olygfa hardd ar y pentrefi pan yn y pellder, yn diflanu wedi dyfod yn agos atynt. Y peth cyntaf a welir ar y lan yn mhob pentref yw *watch house*—rhyw fath o adeilad ysgwar dau uchder llofft. Yn y llofft mae twll digon mawr i ddyn bychan fyned i mewn, ond bydd yn rhaid cael ysgol oddi allan i ddringo iddo. Ar ol i'r gwyliwr fyned i mewn, cymerir yr ysgol ymaith gan y trigolion, hyd nes daw amser y gwyliwr arall, yr hyn sydd i fod bob nos a boreu. A dyna fel y gweithredir yn mhob pentref, er weithiau, fel y crybwyllais, mewn cyraedd galw. Dengys hefyd fod y Chineaid yn ddrwgdybus iawn y naill o'r llall. Mae amryw ynysoedd bychain yn amgylchoedd Amoy, y gallai rhai canoedd o'r Chineaid wneyd bywoliaeth gampus arnynt—rhai o honynt yn ffrwythlon gyda llawnder o ddwfr, &c. Ond y mae arnynt ofn myned i fyw iddynt, rhag y byddo i'w gelynion ddyfod a lladrata pobpeth a llofruddio pawb, fel y dywedir eu bod wedi gwneyd amser yn ol. O herwydd hyny mae yr ynysoedd yn cael llonydd hollol. Dywedir pe byddai i ysbeilwyr ymweled a rhai o'r pentrefi crybwylledig y bydd-

ai i'r pentrefwyr, trwy arwyddion, a thrwy dân yn y nos, wneyd hyny yn hysbys i'r holl bentrefi am ugain milldir o gwmpas, mewn ychydig fynydau; er hyny i gyd ymddengys eu bod mewn ofnau parhaus.

Gyda'r glanau, yn mhob cyfeiriad, yr oedd gwelyau *oysters* i'w cael; a dyna yr unig beth at fwyta allaf feddwl sydd yn rhatach yn Amoy na'r un parth arall o'r byd. Gellir prynu digon o wystrys i ddigoni haner dwsin o ddynion barus am o 12 i 15 cent. Fe allai mai un rheswm dros eu bod yn gallu gwerthu wystrys yn rhad yn Amoy ydyw, eu bod yn defnyddio eu cregyn i wneyd math o sylwedd i ateb yn lle calch at adeiladu. Trwy yr holl amgylchoedd gwelir mân-ffwrneisiau i losgi y cregyn yn mhob pentref, a chyfrifir fod *chinam* (canys dyna enw y sylwedd) yn tra rhagori ar galch y byd gwareiddiedig.

Oddimewn i'r pentrefi (fel Amoy) gwelir moch a chwn haner llwglyd yr olwg arnynt, yn myned a dyfod i'r rhan fwyaf o'r tai heb neb yn talu sylw iddynt. Y mae rhai pobl arianog yn y pentrefi, ond ychydig wahaniaeth oedd i'w ganfod rhwng eu tai a thai pobl eraill, o herwydd fod arnynt ofn dwyn sylw y *Mandarines.* Pe byddai i'r cyfoethogion wneyd arddangosiad o'u cyfoeth mewn unrhyw fodd,

byddai y *Mandarines* yn sicr o ddisgyn arnynt a chymeryd y rhan helaethaf oddiarnynt.

Yn ystod ein gwibdeithiau, pan na fyddai y mynyddoedd yn mhell o'r lan, elem yn aml drwy y meusydd *rice* gan ddringo i'w penau i weled yr ardaloedd amgylchynol. Yr oedd rhai llanerchi hyfryd i'w gweled yn y pellder, ond noethlwm iawn yw y mynyddoedd ar y cyfan, ac am wn i yn dda i ddim ond i gladdu y meirw. Ar bob llechwedd a bryn, yn mhell ac yn agos, nid oes dim ond beddau i'w cael. Mae yr oll o'r mynyddoedd wedi eu gorchuddio â beddau. Mae yn rhaid i'r Chineaid gael eu claddu a'u penau i fyny i'r bryn, er mwyn bod yn gyfleus i adgyfodi; a dyna yr achos fod yr holl feddau ar y llechweddau. Mae y rhan fwyaf o'r bedd-adeiladau yn haner crwn, neu ar lun pedol ceffyl, yn cymeryd tua deuddeg troedfedd ysgwar, a rhai yn llawer mwy, ond mae canoedd wedi eu malurio gan henaint.

Ar yr amser yr oeddwn yno yr oedd China yr darparu am ryfel gyda Rwsia; ac yr oedd trigolion Amoy mewn ofnau parhaus. Dywedai papyrau dyddiol Hong Kong fod triugain o Ewropeaid wedi cael eu cyflogi yn North China yn unig, o dan gyflog o $300 y mis, i ddysgu y brodorion yn y dull Ewropeaidd o

ryfela. Ellmyniaid a Ffrancod oedd y rhai hyny oll; ac ymddengys nad oedd o un dyben i Sais nac American wneyd cais am swyddi yno. Yn ddiweddar daeth llong ryfel Rwsiaidd yn llawn o filwyr i mewn i Amoy, yr hyn a barodd ddychryn mawr i'r trigolion trwy yr holl dref, oblegid y twrw oedd yn mhlith y trigolion, fod Rwsia a China mewn rhyfel eisoes ar y terfynau. Ond o lawenydd mawr iddynt, aeth y *troop ship* allan heb wneyd niwed i neb.

Hawlia y Chineaid fod eu gwlad, sef Ymerodraeth China a'r tiriogaethau dibynol arni, yn mesur 3,924,627 o filldiroedd petryal, ac yn cynwys poblogaeth o 425 o filiwnau. Eithr dywed cenadon ac eraill, fod y cyfrifon uchod yn cynwys tiriogaethau a hawliant eu bod yn hollol annibynol ar lywodraeth China. Felly nid oes un math o sicrwydd parth eangder yr Ymerodraeth; ond y dyb gyffredin gan y rhai mwyaf adnabyddus â China, yw ei bod tua'r un maintioli a'r Talaethau Unedig (heb Alaska), a'i phoblogaeth yn ychydig dros 300 miliwn. Modd bynag, dywedir oddiar awdurdod swyddogol, fod cyfartaledd poblogaeth China wirioneddol i'w milldiroedd petryal, yn fwy yn 1872 nag eiddo un wlad arall, oddieithr Lloegr, a Chymru a Belgium. Dangosai

y ddeiliadeb ddiweddaf fod yn Belgium 462 o drigolion i bob milldir ysgwar, 389 yn Lloegr a Chymru, a 347 yn China. Yn ol cyfrifon yr awdurdodau cyllidol, yr oedd yn China yn 1872, 3,660 o dramorwyr, 1,771 o'r rhai ddaethent o Brydain Fawr a'r Werddon, 541 o'r Taleithau Unedig, 481 o Germani, a 229 o Ffrainc. Trigai 2,047 o honynt ar y pryd yn Shanghai, a 308 yn Canton; y gweddill yn Swatow ac Amoy, Foo-chow, a manau eraill ar yr arfordir. Dengys yr uchod nad yw tramorwyr mor hoff o China ag ydyw y Chineaid o wledydd eraill.

Fel cyfandir America, mae China yn cynwys pob math o dir a hinsoddau, gan ei bod yn ymestyn o'r trofanau i ledred uchel yn y gogledd. Mae rhan helaeth o honi yn dir gwastad agored fel Ffrainc a Belgium, rhan yn gorsiog fel Holland, cyfran helaeth yn fynyddig fel Switzerland, ac fel pob gwlad eang arall, mae rhan fawr o honi yn ddiffaethwch diffrwyth. Dywed y cenadon ac eraill fod China yn rhoddi America ac Awstralia yn y cysgod o ran cyfoeth mwnawl. Yn ol adroddiad swyddogol Proff. Ansted yn 1851, mae China Ogleddol yn llawer iawn cyfoethocach mewn glo nag yw Lloegr, a dywed y cenadon, fod haiarn, copr, tun, aur, arian, a metel-

oedd eraill mewn cyflawnder mawr, nid yn unig yn China Ogleddol, eithr hefyd yn y parthau Deheuol a Gorllewinol. Mae cyflawnder o farmor a cheryg o bob natur i'w cael mewn gwahanol fanau; a dywedir fod amryw o ddinasoedd mawrion i'r gogledd-ddwyrain o Pekin wedi eu toi yn gyfangwbl a llechi o wahanol liwiau—glas, llwyd a choch. Dinas Lu-Ku-Chian, heb fod yn mhellach na rhyw 30 milldir o Pekin, yw un o honynt; ac mae lluaws o adeiladau yn Pekin ei hun wedi eu toi gyda llechi Chineaidd. Felly dealled chwarelwyr Cymreig America a Chymru, fod John Chinaman yn deall sut i wneyd llechi.

Gyda golwg ar y cyfoeth glo yn China Ogleddol, dywed un cenadwr nad oes ei gyffelyb i'w gael mewn un wlad arall. Gwerthir y glo, yr hwn sydd o'r fath oreu, am tua 4 *cash* (tua 4-10 o cent) y bwsiel; ac nid yw y mwnwyr byth yn cloddio yn ddyfnach nag y cyfarfyddir a dwfr, gan fod cyflawnder i'w gael ar y wyneb. Heblaw hyn mae yr holl fanau cyfoethocaf mewn mwnau yn hynod gyfleus i'w gweithio, ac i gludo eu cynyrchion i'r farchnad, ar hyd y camlasau a'r afonydd ardderchog ydynt yn fordwyol drwy yr holl amgylchoedd. Ond ymddenys y rhaid i'r holl fwnau hyn orwedd yn ddiddefnydd am oesau

eto, oblegid nad yw y Chineaid yn deall sut i'w gweithio nemawr yn well na negroaid canolbarth Affrica. Yn wir, mor bell ag yr wyf yn deall, nid yw y Chineaid i fyny a'r Zuluiaid am weithio haiarn. Ac, fel yn Madagascar, nid oes ryddid i dramoriaid gael cloddio dim yn y wlad. Ychydig flynyddau yn ol daeth mintai o aurgloddwyr o Awstralia i rywle yn China Ogleddol, i chwilio am aur, a llwyddasant yn fuan i wneyd cyflog da. Ond daeth y peth yn wybyddus i'r *mandarin* (swyddog cyhoeddus yn China), a rhoed gorchymyn allan yn gwahardd gwerthu dim ymborth iddynt, a thrwy hyny newynwyd yr Awstraliaid allan o'r wlad. Felly gwelir mai anhawdd i'r mwnwyr mewn manau eraill beidio gweithredu yn ol yr hen gyfraith, drwy dalu dant am ddant, &c., a'u newynu hwythau allan o'u tiriogaethau. Eithr creadur anhawdd iawn ei newynu yw y Chinead, canys gall fyw yn galonog ar ymborth hollol anaddas i eraill; ac heblaw hyny gofala y Chinead am gael ei fwydydd, fel pobpeth arall, o'i wlad ei hun.

Credir, modd bynag, gan luaws fel fy hunan, nad yw y dydd yn mhell pan y bydd i China, fel ei chymydoges Japan syrthio i mewn i ddull y byd gwareiddiedig, ac y bydd i'r wlad a'i hadnoddau gael eu diwyllio

er lles cyffredinol y byd. Er fod y Chineaid yn ddiweddar wedi gwrthod rheilffyrdd ac amryw bethau eraill Ewropeaidd, er hyny maent yn dod yn raddol i ddylyn yr Ewropeaid mewn amryw bethau, megys llongau rhyfel, amddiffynfeydd, &c. Addysgir y milwyr, hyd yn nod yn y parthau mwyaf mewnol, yn ol yr arddull Ewropeaidd, ac mae y masnachwyr Chineaidd yn prynu a gwerthu mwy o nwyddau Ewropeaidd yn awr nag erioed o'r blaen; ac yn dod i feddiant o longau hwyliau ac agerlongau fel eiddo gwledydd eraill. Sefydlir ysgolion, ysbytdai, &c., hefyd drwy y wlad, ac mae dysgedigion Chineaidd wrthi yn cyfieithu gweithiau o bob rhyw o ieithoedd Ewrop i'r Chinaeg; deuir i'w gwerthfawrogi fwyfwy bob blwyddyn. Dywedir fod y rhanau mwyaf poblogaidd o China yn hynod fanteisiol i wneyd rheilffyrdd drwyddynt. Cyfrifir fod dros 20,000 o ffyrdd gwladol yn China, a'r rhai hyny wedi eu gwneuthur yn gyffelyb i'r tollffyrdd yn Lloegr.

Mae y mur mawr yn un o'r gweithiau mwyaf yn y byd. Mae yn 1,200 milldir o hyd, 18 troedfedd o uchder, a digon llydan ar ei dop i chwech farchog ar geffylau ochr yn ochr, ac yn aml mae math o dyrau arno yn 40 troedfedd o uchder. Nid yw ei hyd a'i fawredd yn

gymaint rhyfeddod, ag ydyw ei weled yn dringo y llechweddau a'r creigiau ac i lawr y dyffrynoedd, &c.

Dywedir fod holl reilffyrdd y Talaethau Unedig yn 100,000 o filldiroedd, ac mae hyny yn gyfartal i'r gweddill o reilffyrdd yr holl fyd yn nghyd; ond er hyny dywedodd y Cad. Grant fod cymaint o waith ar fur mawr China, ag oedd ar holl reilffyrdd y Talaethau Unedig! Dywed hefyd fod y pontydd a'r *cuttings* tu hwnt i ddim o'r fath mewn un wlad arall. Am danaf fy hun, pan y gwelaf neu y clywaf am ryw waith mawr wedi ei wneyd yn China, bydd fy meddwl yn uniongyrchol yn ceisio dyfalu nifer y gweithwyr a'r amser gymerasant i'w gyflawni. Araf iawn mewn gwaith o'r fath yr oeddwn i yn eu cael, tra yn arolygu y gwaith yn Amoy. Hefyd, cefais gyfle campus i weled hen ddull rhyfedd y Chineaid o wneyd pob gwaith, canys yr oedd 150 o honynt yn gweithio danaf. Yr oeddwn yn gosod y rhan fwyaf o'r gwaith iddynt ar *gontract*, ac felly yn cael mantais i weled eu dull o gario y gwaith yn mlaen.

Rhai hynod o ryfedd ydynt gyda phob gwaith, ac araf iawn gyda phob peth. Yr oedd yn y gwaith hwn lawer o geryg, llaid, pridd a thywod. Pa mor bell bynag y bydd eisiau

symud y tywod—llathen neu ddwy, neu ragor, cymer John Chinaman ei ddwy fasged, caib, rhaff fechan, a bamboo ( math o bren pedair troedfedd o hyd ); ac ar ol crafu y tywod, neu beth bynag fydd, â'i *hoe* ( tua thair modfedd o led ), i'r basgedi, y rhai a ddaliant tua phedair rhawiad, rhoddir y rhaff drwy y dolenau, yna y bamboo drwy y rhaff, ac felly cario y ddwy fasged, un yn mhob pen y bamboo. Pan fydd eisiau cario careg, rhwymir rhaff am dani, a chariant hi yr un modd a'r basgedi. Os bydd eisiau symud tipyn ar un pen i gareg, ychydig fodfeddi, rhoddir rhaff am dani, a symudir hi wrth nerth ysgwyddau. Weithiau gwelir dwsin neu ddau mewn llafur a lludded mawr yn symud ceryg, tra y gallai un gyda throsol wneyd mwy na'r oll, yn llawer cynt a mwy didrafferth.

Mae rhai ffyrdd da iawn wedi eu gwneyd yn y cylchoedd hyn, a lleoedd eraill, yn nghyd ag ystordai, anedd-dai, &c. Cyflog y coolies yw o 8 i 15 cents y dydd. Seiri coed o 20 i 40 cents; naddwyr ceryg, o 20 i 30 cents; ac maent oll yn gweithio tuag un ar ddeg o oriau yn y dydd. Er mor isel yw y cyflogau, y mae adeiladau wedi'r cwbl yn costio cymaint i'r perchenogion, neu fwy nag a gyst gweithiau o'r fath yn San Francisco. Mae hyn i'w bri-

odoli i ddau reswm, sef yn gyntaf, i'r ffaith nad yw y Chineaid i fyny a'r byd gwareiddiedig, nac yn deall y dull cyflym o weithio. Nid oes yn y cylchoedd hyny na berfau olwynion, na rhawiau, na cheibiau, canys basgedi a ddefnyddir gan y bobl. Gwelir felly eu bod yn mhell iawn ar ol gydag arfau cyffredin i weithio. Yn ail, y mae y Chineaid ar ol gyda pheirianau gwaith o wahanol fathau, fel ag a geir mewn gwledydd eraill. Nid oes yno beirianau tân na melinau llifio, er fod digonedd o goed rhagorol i'w cael mewn lleoedd hwylus. Mae yn rhatach cael coed llifiedig, ac agos i bob peth arall, o wledydd tramor, na'u darparu drwy waith llaw, yn ol yr hen drefn. Nis gall oriau hirion o waith rhad yn China, fod mor gynyrchiol ac enillgar i'r meistri ag oriau byrion o waith cyflym, a chyda pheirianau, fel ag a gyflawnir yn America. Gellir gwneyd mwy o waith, ac yn rhatach, drwy fedrusrwydd yr Americaniaid, na thrwy lafur rhad y Chineaid.

Er fod digonedd o geryg adeiladu rhagorol i'w cael yn nghylchoedd Amoy, ni chaniateir eu codi gan ofergoeledd y pendefigion; ac felly rhaid myned 25 o filldiroedd i ymofyn rhai. Aethym yno, ac erbyn pedwar yn y prydnawn yr oeddwn wedi cyraedd pentref bychan, lle

yr arosais dros y nos. Dranoeth aethym i'r chwarel oedd ar fynydd gerllaw, ac mae yn ymddangos fod yr oll o hono yn ithfaen o'r fath oreu. Yr oedd yno tua 700 o ddynion yn curo ac yn dobio yma ac acw, ar benau cynion, i geisio hollti y creigiau. Ni ddefnyddiant bylor, er eu bod yn gwybod am dano yn dda, am fod arnynt ofn; a'r canlyniad yw fod y ceryg hyn yn costio cymaint i'r perchenogion ag a gyst ceryg naddedig yn y Talaethau Unedig, er nad yw y dynion yn enill ond o 10 i 15 cents y dydd. Credaf y gall fy nghyfaill, G. Griffiths, Penrhyn, California, werthu ceryg yn rhatach i'r Chineaid nag y gellir eu gwneyd yno. Nid yw y Chineaid yn credu mewn gwaith peirianau na dim o'r fath, os gallant wneyd y cwbl â llaw. Dywed y cenadon mai lled debyg ydynt drwy yr holl ymerodraeth.

Pobl ryfedd yw y Chineaid gyda'u dinasoedd fel pob peth arall. Mae heolydd yr holl ddinasoedd yr ymwelais a hwy yn y dwyrain yn gulion; ac mae yn ymddangos fod yr hanesydd Tacitus yn credu mewn heolydd culion, canys cyhuddodd Nero o ddyfetha Rhufain drwy wneyd ei hoelydd yn llydain Dywedir mai prif amcan y dwyreinwyr yn Cyprus, Syria, Gwlad Canaan &c., oedd gwneyd yr he-

olydd yn ddigon llydain i ddau gamel llwythog basio eu gilydd; canys nid oedd ganddynt gerbydau i dramwyo drwy yr heolydd. Hefyd y mae heolydd dinasoedd India yn gulach nag yn Syria; ond yn Amoy, China, y maent mor gulion fel mai pryn y gall dau ddyn llwythog basio eu gilydd yn ddirwystr. Gan nad oes na cheffylau nac ychain yn myned drwy yr heolydd, nid oeddynt yn barnu fod eisiau eu gwneyd yn lletach, na'r lled angenrheidiol i ddau ddyn dan eu beichiau allu pasio eu gilydd, yn weddol hwylus. Rhoddir rhesymau eraill yn China dros heolydd culion, sef eu bod yn ffurfio cysgodion rhag gwres yr haul, ac yn tynu awelon o wynt drwyddynt ar dywydd poeth; ac heblaw hyny y mae heolydd llydain, yn ol eu barn hwy, yn wastraff ar-dir. Felly y mae y Chineaid yn barnu mai heolydd eu dinasoedd hwy, yw y rhai mwyaf cyfleus yn yr holl fyd. Maent hwy ryw fodd yn hoffi gwneyd pob peth yn hollol wahanol i bobl eraill. Maent yn ysgrifenu o'r ochr dde i'r ochr aswy; a phan yn rhwyfo cwch safant ar eu traed a'u gwynebau yn gyfeiriedig at y pen blaen. Wrth fyned i le cysegredig a pharchus, gadawant eu hetiau am eu penau; ond mewn lle cyffredin, distadl a dibarch, tynant ymaith eu hetiau. Mae eu galarwisgoedd yn wynion

bob amser; a dylynir y cyrff i'r mynwentydd gan seindyrfaoedd yn chwareu yr alawon mwyaf llawen, fel arwydd eu bod yn cydlawenhau a'r ymadawedig, yr hwn fydd yn gorfoleddu o herwydd ei fynediad o fyd y trallod a'r poenau, i wlad y dedwyddwch a'r llawenydd. Mae yn amlwg na edrychir ar farwolaeth yn y dull hwn mewn gwledydd Cristionogol, lle mae y galarwyr yn meddwl am danynt eu hunain yn unig. Dylynir y cerddorion gan y cyfeillion yn cario basgedau llawnion o gyfarwyddiadau wedi eu hysgrifenu yn blaen ar bapyr, er hwylusdod i'r marw gyraedd y wlad well yn llwyddianus. Wrth y bedd llosgir holl ddillad y marw a phob peth a berthyn iddo, er mwyn i'r pethau hyny gael eu hysbrydoli, a'i ganlyn i baradwys. Yn ddiweddaf rhoddir porthdrwydded (passport) yn llaw y marw, er sicrhau rhyddid iddo i wibrodio fel y myno am bob tragwyddoldeb, yn wobr am y daioni a wnaed yma. Bydd y porthdrwydded yn rhoddi iddo hawl berffaith a chyflawn i fyned fel y myno drwy holl eangderau y byd mawr, lle nad oes na thrallod na phoen, lle mae eu duw Josh yn benaeth ar y cwbl.

Gwneyd traed y merched yn fychain hefyd, sydd yn arferiad tra hynod yn China, a'r

mwyaf ffol ac anwaraidd yn yr holl fyd. Yr oedd traed mwyafrif mawr o'r rhyw deg yn Amoy, a phob dinas arall a welais yn China, yn debycach i droed asyn na throed merch. Mae traed llawer o'r merched wedi eu dirwasgu mor fychain fel nad ydynt yn debyg i draed mewn gwirionedd, ac mae llawer o honynt yn analluog i gerdded o gwbl, heb ffyn baglau, neu gael person i'w cynorthwyo. Nid oes digon o nerth yn eu coesau i'w galluogi i ddal baban blwydd oed yn eu breichiau, tra yn sefyll; a phan yn amcanu gwneyd rhyw waith megis golchi, rhaid iddynt fyned ar eu gliniau. Ymdrechais gael allan beth roddodd ddechreuad i'r arferiad creulon hwn, ond yn fuan deallais fod cryn lawer o ansicrwydd mewn cysylltiad a tharddiad y ffasiwn. Dywed un traddodiad mai yr Ymerodres Tankey, yr hon oedd yn teyrnasu tua thair mil o flynyddoedd yn ol, ddechreuodd yr arferiad; ac o herwydd ei bod yn meddu traed clwb naturiol, gorfododd i'r rhyw fenywaidd o'r deiliaid wneyd eu traed yr un fath. Mae traddodiad arall i un o'r ymerawdwyr ddal ei wraig mewn lle anweddaidd gyda'i hen gariad, ac iddi geisio cyfiawnhau ei hun, drwy roddi y bai ar ei thraed am ei chario yno. Credodd yr Ymerawdwr hyny, a thorodd ymaith ei thraed fel nas gall-

ai fyned i'r fath le yr ail waith, a maddeuodd iddi hefyd. Pa beth bynag a roddodd ddechreuad i'r arferiad hynod, a chreulon hwn, y mae yn ymddangos ei fod wedi gwreiddio mor ddwfn yn nghymeriad y Chineaid, fel nad oes gobaith am ei ddilead, ond yn hytrach cynyddu y mae. Nid oes ond y *coolies*, neu ferched y dosbarth tlawd yn gadael eu traed i dyfu yn naturiol, fel y gweddill o bobl y byd. Hynodrwydd mwyaf amlwg y dynion yw cynffon o wallt, a adewir i dyfu yn hir oddiar goryn y pen, yr hwn bob amser a blethir yn ofalus. Dywedir mai oddiwrth y Tartariaid y cafodd y Chineaid yr arferiad hwn, o adael eu gwallt i dyfu yn hir oddiar y parth hwnw o'r pen, pan orchfygasant y Chineaid mewn rhyfel oesau lawer yn ol. Cawsant eu gorfodi gan y Tartariaid i wisgo eu gwallt yr un fath a hwythau, ac mae Chineaid gwladgarol yn parhau i wneyd hyny hyd yn awr; eto rhaid dweyd fod parthau bychain o'r wlad wedi gwrthod cydymffurfio, er dangos na orchfygwyd hwy oll gan y Tartariaid.

Yr oedd chwech neu saith o'r Cenadon efengylaidd a'u teuluoedd, yn byw yn ddedwydd iawn ar ynys Koolangsou; ac yn eu plith yr oedd y Parch. Mr. Talmage, brawd Dr. Talmage, Brooklyn, N. Y., yr hwn sydd wedi

byw yno am fwy nag ugain mlynedd. Y mae efe a'i blant yn gallu siarad iaith y Chineaid yn rhugl. Pan ddeuai llong ryfel Americanaidd i mewn i'r porthladd, arferai Dr. Tallmage daflu ei dy yn agored ar y Sabbathau i gynal moddion gras, cyfarfodydd gweddi, a chyfarfodydd canu ar nos Suliau.

Tra yn Amoy cefais gydnabyddiaeth a'r Cadben Thomas, o'r agerlong *Foo-chow*, sydd yn rhedeg yn ol ac yn mlaen rhwng Hong Kong a Shanghai, yn nghyd a lleoedd eraill. Cefais wahoddiad gan y Cad. Thomas i fyned ar y bwrdd gydag ef; ac yno gwnaed fi yn gydnabyddus a Mr. Robert Williams, o Shanghai, sef Pilot yr O. S. S. N. Company, a redant longau i Hong Kong, Shanghai, a Liverpool. Brodor o Abermaw, Meirionydd, islaw Dolgellau, G. C, ydyw Mr. Williams; ac mae ganddo wraig (Cymraes) a phlant yn Shanghai er's amser maith. Dyn o Ddeheudir Cymru ydyw y Cadben Thomas; a thrwy ofal a chynildeb dywedir ei fod yn werth o leiaf gan' mil ($100,000) o ddoleri! Priododd yn ddiweddar, ac y mae yn byw yn Shanghai. Daeth i'r Dwyrain oddeutu 20 mlynedd yn ol, fel llongwr cyffredin o flaen y mast, ac yn awr y mae yn wr goludog, yn meddu digon o bob peth i'w wneyd yn ddedwydd. Teimla yn

llawn o gariad at Gymru, hen wlad ei dadau. Rhoddodd wahoddiad taer a chynes i mi gofio dyfod i fwrdd ei long bob tro y daw i mewn. Nid oes ond oddeutu 100 o Ewropeaid sefydlog yn Amoy ac mae 60 o honynt yn *Free Masons.* Bu y gadlong Americanaidd *Richmond* yno hefyd, a chefais y pleser mawr o ymgydnabyddu gydag amryw o'r swyddogion. Hefyd cefais fy anrhydeddu a gwahoddiad i fod yn bresenol mewn *entertainment* ardderchog a gynaliwyd ar fwrdd y gadlong.

Y degfed dydd o Chwefror ydyw dydd cyntaf y flwyddyn newydd yn China, sef blwyddyn yn ol cyfrif oddeutu y drydedd ran o'r hil ddynol. Treuliasom ni, y Cristionogion, ein gwyl yn weddol gysurus. Noson y dydd cyntaf o Ionawr caed dawnsfa a swper blynyddol a berthyn i swyddogion y Dollfa. Yr oeddwn yn un o'r gwahoddedigion, ac yr oedd yr ystafell wedi ei phrydferthu yn ardderchog, gyda blodau, coed, banerau, &c. Yr oedd y byrddau wedi eu llwytho a danteithion o'r fath oreu. Yr oedd 24ain o honom wrth y bwrdd, ond o herwydd prinder merched gwynion, nid oedd ond dwy o'r rhyw deg yn ein gwledd. Pa fodd bynag, bu i ni wneyd i fyny am absenoldol y merched, drwy i amryw o'r bechgyn wisgo fel merched, er mwyn myned yn mlaen

yn drefnus yn y ddawnsfa; ac felly treuliasom y noson yn hynod o hwyliog.

Ar ddechreu blwyddyn newydd y Chineaid cawsom fath o bic-nic mawr ger y Josh House, ar ben mynydd uwchlaw Amoy; ac yr oedd o honom 12 o ddynion a phedair o foneddigesau. Cyrhaeddasom y lle erbyn un ar ddeg, a dyna lle yr oedd Josh, duw y Chineaid, yn un pen i'r ystafell, a chanwyllau goleu o'i amgylch yn barhaus. Mewn un parth o'r ystafell, yr oedd bwrdd wedi ei daenu yn ddestlus iawn; ond y peth cyntaf a orfu i ni wneyd oedd addoli y duw Josh, fel y caem wybod cyn ymadael o'i wydd yn mha gyflwr yr oeddym yn sefyll ger ei fron. Y ffordd i ddeall hyn yn ol dull y Chineaid o addoli, yw cymeryd dau ddarn o bren geir bob amser o flaen Josh ar fwrdd, ac un wyneb yn fflat a'r llall yn grwn, y rhai ydynt yn chwe' modfedd o hyd a thair o led. Gosodir y rhai hyny wyneb yn wyneb, yna teflir hwy i fyny dair gwaith, ac os bydd yr ochr fflat i lawr bob tro, bydd cyflwr y person yn hollol anobeithiol; ac os dygwydd i'r ochr fflat fod i fyny un waith allan o dair, bydd gobaith. Nid ydyw hwn yn ddim ond dull arall o fwrw coelbren, sydd mewn bodolaeth er cyfnodau cyn hanesiol. Hefyd y mae llawer o'r Chineaid mor hyddysg yn y gwaith o daflu

y preniau i fyny, fel y gallant sicrhau yr ochr ffafriol i fyny agos bob tro. Aethom i weled *Rocking Stone* aruthrol sydd yn y lle. Careg ydyw hon oddeutu 30 troedfedd o hyd fel fflachel (match) o ran dullwedd, ac yn pwyso dros 150 o dunelli, wedi ei gadael gan natur, fel y gall dyn, neu fachgen ei siglo y ffordd hwyaf! Ni welais ddim yn debyg i hon o'r blaen, a buasai yn anhawdd genyf gredu yr hanes, heb i mi ei siglo fy hun. Mae y duw Josh yn ymyl y gareg hon, a charia y Chineaid feddwl uchel iawn am y lle a ystyriant yn gysegredig.

Mae ynys Formosa rhwng 80 a 90 o filldiroedd o Amoy. O ran maintioli, nid yw ond ychydig yn llai na Denmark, ac ar yr amser presenol y mae dan lywodraeth China. Dywedir fod ei sefyllfa yn y parth mwyaf ystormllyd yn mor China, ac mae morwyr bob amser yn ofni ei glanau, yn enwedig ar dywydd tymestlog. Hefyd ofnir myned yn agos i'r ynys o herwydd barbareidd-dra y trigolion. Mewn amgylchiad o long-ddrylliad, ychydig amser yn ol, aeth llong berthynol i Japan yn ddrylliau ar lanau Formosa, ac yr oedd y dwylaw a'r swyddogion yn rhifo 50, y rhai oll a lofruddiwyd gan drigolion yr ynys. Anfonodd Mikado, penaeth llywodraeth Japan, gwyn

i China, o herwydd y gyflafan, a rhoddwyd yr achos o flaen y llys yn Pekin; ond yr atebiad oedd, fod trigolion y parth hwnw o'r ynys heb eu gwareiddio, ac nad oedd llywodraeth China yn gyfrifol am eu hanfadwaith. Dywedodd Ymerawdwr Japan, os felly yr oedd pethau yn bod, y byddai i'r llywodraeth hono gymeryd y pwnc yn ei dwylaw ei hun. Achosodd hyn anghydfod mawr rhwng y ddwy wlad; ond er y cwbl, y mae trigolion Formosa heb eu gwareiddio eto, ac nid oes gan y llywodraeth fwy o awdurdod drostynt yn awr, nag oedd ganddi pan gymerodd y gyflafan le.

Er fod mynyddoedd uchel Formosa i'w gweled a'r llygad noeth o rai parthau o China, eto y mae yn ymddangos yn ol hanesyddiaeth nad oedd y Chineaid yn gwybod dim am fodolaeth yr ynys cyn y flwyddyn 1430. Ar ol hyny, symudodd y Chineaid yno yn gyflym, ac yn mhen dau gant o flynyddoedd, yr oedd yno ddigon o honynt i gadw y Japaneaid draw, y rhai a wnaethant ymdrech deg i ymsefydlu ar yr ynys. Yn 1634, llwyddodd yr is Ellmyniaid i sylfaenu sefydliad ar yr ynys, ac adeiladasant amddiffynfa yno. Yr oedd y rhagolygon ar y dechreu yn addawol, a dysgwylid llwyddiant cyflym. Yn y cyfamser, dygwyddodd i deiliwr o'r enw Ignoron o Amoy, fyned

drosodd i ynys Formosa, i ymweled a'r Ellmyniaid, a dywedir ei fod o ysbryd hynod o anturiaethus; ac wedi myned yno, dechreuodd fasnachu yn gyffredinol. Bu yn dra llwyddianus, a gwnaeth elw mawr iddo ei hun mewn amser byr. Aeth drosodd oddiyno i Japan, ac ychwanegodd lawer at ei gyfoeth yno. Daeth yn y cyfamser yn feddianol ar 3,000 o hwyllongau (*Junks*), a theimlodd ei fod yn ddigon nerthol i fod yn Ymerawdwr. Trodd ei longau yn llongau rhyfel, ac arfogodd ei for filwyr a chleddyfau. Hwyliodd yn mlaen, ac yn fuan meddianodd Fuh-Kun; yna aeth i Pekin i sicrhau ei hawl yn ei deyrnas newydd. Ni fu yn llwyddianus yn hyn, canys cymerwyd ef yn garcharor, ac yno bu farw, gan adael ei holl gyfoeth i'w fab, Koksinga, yr hwn oedd fel ei dad, yn llawn o anturiaeth, ac wedi cael addysg ymarferol. Hwyliodd gyda'i longau am ynys Formosa, ac wedi cyraedd yno, hysbysodd yr Ellmyniaid fod arno eisiau cael ei wneyd yn Frenin ar yr ynys. Gwrthododd yr Ellmyniaid ei dderbyn; ond gan fod ei ddylynwyr yn lluosog a nerthol, gweithiodd ei hun i mewn, a gorchfygodd yr Ellmyniaid yn 1661. Yn mhen blwyddyn ar ol hyny, anfonodd Holland fyddin allan i ail-feddianu y sefydliadau yn Formosa, ond yr oedd y Junks yn

rhy rymus, fel y methodd llongau Holland ddal yn eu herbyn, a pharhaodd Koksinga yn Frenin Formosa. Yn mhen amser, bu yntau farw, a'r amser hwnw syrthiodd yr ynys i feddiant China. Mae y Chineaid wedi sefydlu eu hunain o'r naill ben i'r ynys i'r llall, ac mae y gwastadeddau mwyaf ffrwythlon yn eu meddiant. Maent wedi anfon y brodorion i'r bryniau a'r mynyddoedd; ac mae llinellau terfynol rhwng meddianau y brodorion a thiroedd y Chineaid. Ni fydd bywyd neb yn ddiogel os croesa y terfyn, sef y ffosydd, neu y mynyddoedd rhwng y meddianau. Mae yn ymddangos oddiwrth y mapiau fod oddeutu haner yr ynys yn meddiant y Chineaid.

Mae yn anhawdd deall pwy ydyw brodorion ynys Formosa, ac o ba le y daethant yno ar y dechreu. Bernir, pa fodd bynag, mai cangen o'r Malays ydynt, gan eu bod yn debycach iddynt hwy nag i neb arall o ran eu lliw, eu ffurf a'u hiaith. Maent yn bobl iach a heinif iawn. Arferant fyned i'r dwfr i olchi eu cyrff bob dydd, haf a gauaf. Nid oes cymaint ag un meddyg yn eu plith. Priodolir eu hiechyd diball i'r gofal a gymerant i ymolchi mor fanwl a chyson. Mae llawer o ddefodau tra hynod yn eu plith, yn enwedig y gwaharddiad i fenywod ddyfod yn famau hyd

nes y byddant yn 37 mlwydd oed; ac os genir plentyn i fam fydd yn ieuengach na hyny, rhaid rhoddi y baban i farwolaeth! Mae yn dra hawdd priodi yno, ac mae yr un mor hawdd dyfod yn rhydd oddiwrth yr amod priodasol. Ni chaniateir i ddyn fyw gyda'i wraig ond yn ystod y nos yn unig. Yn awr y mae llawer o Ewropeaid yn troi eu gwynebau tua Formosa; ac mae amryw wedi prynu rhandiroedd helaeth yno i godi te, y rhai ydynt yn llwyddo yn gampus. Agorwyd gwaith glo rhagorol yno amser yn ol, a darganfyddwyd haiarn a chopr ar yr ynys. Mae Tamswe a Taiwanfu wedi dyfod yn borthladdoedd pwysig, a llawer o agerlongau, yn gystal a hwyl-longau yn galw yno yn wythnosol.

Yn mhen tri mis ar ddeg o'r amser y cyrhaeddais Amoy, yr oedd y gwaith wedi ei orphen; ond wedi hyny cefais gynyg ar le arall i wneyd gwaith cyffelyb dan lywodraeth China, a chefais anogaeth i ymrwymo am ddwy flynedd. Gan mai y swyddi hyny oedd y rhai goreu a gynygiwyd i mi, er pan oeddwn wedi ymadael o 'deheubarth Affrica, a chan fod y parth hwnw o'r byd yn lle iach i fyw ynddo, caraswn eu derbyn; ond eto yr oedd fy iechyd wedi rhedeg mor isel, fel y collais haner can pwys yn fy mhwysau mewn tri mis, felly

penderfynais mai doethach oedd i mi newid yr hinsawdd; ac mewn canlyniad hwyliais o Amoy yn yr agerlong *Chefoo* am Shaughai. Yr oedd chwech o ddwylaw yr agerlong yn Ewropeaid, sef y cadben a'i ddau brif swyddog, a thri o'r peirianwyr, ac yr oedd un o'r rhai hyny yn Gymro o'r enw Evan Jenkins. Cawsom dywydd hyfryd iawn, ac aeth yr amser heibio yn hynod o gyflym, a myfi oedd yr unig deithydd Ewropeaidd ar y bwrdd. Yr oeddym yn ageru yn ngolwg y tir yn barhaus, a thir llwm yr olwg arno ydoedd, hyd nes y cyrhaeddasom enau yr afon fawr, Yang-tse-kiang. Mae yr afon yn fawr ac yn llydan, ac yn fordwyol am lawer o ganoedd o filldiroedd. Gwelir agerlongau mawrion yn rhedeg i fyny i Hangkow, i lwytho te, ac wedi i ni groesi y bar daeth cadlongau mawrion i'r golwg, yn nghyd a lluoedd o longau masnachol, a nifer o agerfadau, &c. Wedi angori cawsom hamdden i edrych oddiamgylch, ac yr oedd yr olygfa yn debycach i rai o longborthau America na dim a welais yn y Dwyrain. Cawsom olygfa fawreddog ar y wyneb-heol, lle y mae adeiladau mawreddog iawn. Dangosodd y cadben i ni derfynau y sefydliadau, a'r uchaf ar yr afon a elwir Frenchtown, ac afonig fechan yw y terfyn rhwng hwn a'r Sefydliad Pryd-

einig, a changen o'r afon a elwir Blockwater yw y terfyn rhwng hon a'r American Town. Mae yn amlwg iawn mai y parth pwysicaf a mwyaf prydferth, yw y lle sydd yn perthyn i'r Prydeiniaid, canys yno y mae y prif adeiladau, lle y gwneir y busnes mwyaf o lawer. Aethym i'r lan mewn cwch, a llogais fath o ferfa i gario fy nghoffrau; yna cyflogais *jinrikisha*, math o gerbyd dwy olwyn yn cael ei dynu gan ddyn, i fyned a mi oddiamgylch i weled rhyfeddodau y ddinas. Nid oedd y cerbyd yn costio ond 10c. yr awr, ac y mae y dynion hyny, wrth dynu y cerbydau,yn gwneyd agos cystal amser ag y wneir gan geffylau. Cymerais le mewn *Temperance Hotel*, ac yr oedd yn un o'r lleoedd goreu a pharchusaf yn Shanghai. Nid oedd y pris ond $1.25 a $1.50 y dydd, tra y mae llawer o'r *hotels* eraill yn codi o $2 i $4 y dydd. Cefais yno newyddiaduron Lloegr ac America, heblaw newyddiaduron dyddiol, cylchgronau, &c. Un o'r pethau cyntaf a wnaethym wedi myned i mewn i'r *hotel* oedd pwyso fy hun mewn clorian, a chefais fy mod wedi enill tua phedwar pwys o'r haner can' pwys a gollais tra y buom yn Amoy. Bu hyn yn foddion i fy nghalonogi yn fawr. Yn fuan ar ol hyny cyfarfyddais a Mr. Williams, y *pilot*, yr hwn a fu gyda mi yr

holl amser a dreuliais yn Shanghai. Nid oedd dim byd neillduol i ddyddori neb yno, a lle fflat a hynod boeth yn y tymor haf ydyw. Mae yr heolydd yn llydain ac yn lan, yn enwedig yn y parthau a berthynant i dramoriaid, a rhaid iddynt fod felly; ond y mae y parthau lle y preswylia y Chineaid eu hunain yn un môr o aflendid, oherwydd eu bod yn cael byw yn unol a'u defodau eu hunain.

Mae China yn wlad ragorol am bob math o ffrwythau, ac mae Shanghai yn nodedig am danynt. Profais yr oll o'r ffrwythau, a chefais yr afalau a'r gellig yno mor ddiflas a maip wedi rhewi, fel mewn lleoedd eraill yn China. Nid wyf yn gwybod beth yw yr achos eu bod felly, ond dyna y gwirionedd; ac mewn canlyniad, y mae llawer o afalau yn dyfod i mewn o California, a lleoedd eraill yn y Talaethau Unedig.

Ar lan yr afon y mae Gardd Shanghai, lle y mae canoedd o bobl yn cyrchu gyda'r nos i basio eu horiau hamddenol. Mae hono yn ardd brydferth, ond ei bod yn rhy fechan, ac heb ddim yn ei nodweddu fel parc. Mae Shanghai yn cynyddu yn gyflym. Yn Mehefin 1880 cyfrifwyd trigianwyr tramor Shanghai, ac yr oeddynt yn rhifo 2,199. Hefyd, y mae cyfrif arall yn dangos fod 23 o genedloedd yn

gwneyd i fyny drigolion y ddinas, ac yn eu plith nodir, Prydeinwyr, 1,044; Americaniaid, 230; a 159 o Germaniaid. Er pan rifwyd y deiliaid yn 1876, y mae y Prydeiniaid wedi cynyddu 200, a lleihaodd yr Americaniaid 59. Profa hyn fel y mae Sion Darw yn gweithio ei hun i mewn i Shanghai, fel ag i bob parth arall o'r Dwyrain. Mae yn syndod fel y gwelir cynyrchion ac adnoddau anhysbyddadwy California yn cael eu defnyddio yn rhanau mewnol China a Japan. Yr wyf yn credu yn ddiysgog y daw masnachwyr Americaniaid yn fuan yn fwy lluosog yn y Dwyrain, canys gwerthir nwyddau yn awr yn rhatach nag y gwerthir nwyddau Lloegr.

Gadewais Shanghai, China, Japan, ar fwrdd ager-lythyrlong o'r enw *Houshima* yn un o 14 o Ewropeaid. Lywodraeth Japan sydd yn rhedeg yr agerlongau ar y llinell hon, fel y llinell i Hong Kong, a chan nad oes fawr o gystadleuaeth, y maent yn cymeryd eu ffordd eu hunain, ac yn codi y prisiau a welant yn dda. Y maent yn bur afresymol gyda'r cludiad yn aml. Bu amryw o gwmniau yn rhedeg agerlongau yn eu herbyn am fyr amser, ond yr oedd llinell Japan yn gostwng y pris, a thrwy hyny eu rhedeg allan o wynt. Wedi hwylio am 48 o oriau, daeth yr agerlong a ni i olwg

ymerodraeth Japan; ac yr oedd yr olygfa yn hollol wahanol i ddim a welais o gwbl yn China.

---

## PENNOD XIV.

*Mordaith i Japan—Nagasaki a'i hynodion—Prydferthwch yr Inland Sea—Kobi a'i hynodion—Gwareiddiad y bobl—Glanio yn Yokohama—Cynydd masnach—Ymweliad a'r Hot Springs yn Ashinoyu—Hakone—Kiga—Miyanoshita—Tonosawa—Mynydd Fujiyama—Prydferthwch y wlad—Ymweliad a Tokio—Desgrifiad o'r ymerodraeth, &c.*

Hwyliasom i longborth cul, prydferth a dymunol Nagasaki erbyn y boreu; ac yn wir yr oedd golwg ardderchog ar ddwy ochr y llongborth fel yr oeddym yn hwylio drwyddo. Mae y llongborth agos yn grwn, ac ymddengys y dref fel pe buasai wedi ei hadeiladu braidd o'i amgylch oll; ond nid ydyw y dref yn ymddangos yn dda o'r llongborth, o herwydd fod y tai yn hynod o isel, oddigerth y rhai agosaf i lan y dwfr. Yr oedd baneri gwahanol wledydd yn chwyfio oddiar eu penau, ac yn eu plith yr oedd y faner Seisonig a'r faner Americanaidd yn dra amlwg. Yr oedd y baneri hyn, o angenrheidrwydd, ar nenau

swyddfau y trafnoddwyr, ac yn dangos fod cymundeb masnachol rhwng y gwahanol wledydd. Tra dymunol i mi oedd edrych ar y tir toreithiog oedd yn ymgodi yn mhob cyfeiriad oddiwrth y dref. Cymerais fad i fyned i'r lan, fel y gallwn weled y ddinas yn iawn, ac yn fuan canfyddais y gwahaniaeth mawr oedd rhwng China a Japan. Yn lle edrych yn uchelfrydig a ffromllyd ar dramoriaid, fel y gwna y Chineaid, y mae pobl Japan yn ymddangos yn hynod o falch wrth weled tramoriaid yn dyfod i'w plith, ac y maent yn foesgar a charedig iawn wrth bawb. Cyflogais *jinrikisha* i fyned drwy y dref, ac yn mhob man yr oedd golwg lanwaith ar yr heolydd, y tai, ac ar y bobl hefyd. Yr oedd y ddinas yn llawer mwy dymunol wedi dyfod iddi na'i hymddangosiad o'r llongborth. Mae yn ymddangos fod pob peth yma yn rhagori ar China. Gwelir heddgeidwaid yn aml, wedi eu gwisgo mewn gwisgoedd prydferth, heb fod yn annhebyg i *uniform* heddluoedd gwledydd Ewrop; ac yr oedd pob peth yn ymddangos yn daclus ac mewn trefn ragorol. Aethym i weled prif ryfeddodau dinas Nagasaki, ac yn enwedig y temlau. Yr oedd yr arddangosfa wedi myned heibio, a dywedid ei fod yn llwyddiant perffaith yn mhob modd. Dangosid yno holl adnoddau Japan, a chywreinrwydd ei chrefftwyr.

Nid oedd ond ychydig o Ewropeaid i'w gweled ar yr heolydd, a dywedir wrthyf nad oedd yno haner y nifer welwyd yn y lle ychydig o flynyddoedd yn ol, o herwydd fod y Chineaid yn eu gweithio allan. Cyfrifir fod yn Nagasaki oddeutu 100 o Ewropeaid. Mae gwaith glo mawr, yn cael ei gario yn mlaen ar raddfa helaeth, yn agos i'r ddinas; eithr nid oes yno braidd neb yn gweithio ond y Japaneaid, canys anfonwyd yr Ewropeaid i ffwrdd ar ol i'r brodorion ddysgu tori glo eu hunain. Mae yn ymddangos fod y Japaneaid yn bobl gyflym eu haingyffredion, ac yn dysgu pob celf a gwyddor mewn ychydig iawn o amser. Deallais mai Cymro, o'r enw Lewis, oedd arolygydd y gwaith glo; ond nid oedd genyf amser i fyned i chwilio am dano, gan fod yr agerlong yn cychwyn am haner nos ar ei mordaith i Kobi, ac yr oeddwn inau wedi blino yn y *jinrikisha.*

Aethym i'r gwely, a chodais yn foreu dranoeth, i gael golygfa ar brydferthwch y mor o fewn y tir, y clywais gymaint o son am dano. Yr oedd yr agerfad yn myned yn hynod o gyflym, a synwyd fi wrth weled mor gul oedd y mor mewnol hwn, fel y tueddir un i gredu mai afon ydyw mewn rhai lleoedd. Yr oedd yr olygfa ar y wlad werddlas, doreithiog, yn

ardderchog dros ben, a'r ffrwythau i'w gweled ar bob llaw. Aethom heibio i lawer o ynysoedd tra phrydferth, ar y rhai yr oedd y tir llafur yn ymddangos yn ffrwythlon a thoreithiog.. Maent yn wyrddion drwy y flwyddyn, ac yn addurnedig gan goedydd tlysion. Nis gallaf feddwl am un parth arall o'r byd mor brydferth a'r lleoedd a welais yn y cylchoedd hyn, ac nid yw y tymorau yma yn newid prydferthwch y golygfeydd. Mae yr ysgrifenwyr goreu yn cyfaddef nas gallant gael iaith i ddesgrifio haner prydferthwch dihafal y golygfeydd hyn, sef ysbleneiddrwydd y *Japan Inland Sea.*

Yn mhen deugain o oriau yr oeddym yn Kobi, lle y cefais ddiwrnod a haner o amser i weled y ddinas a'r golygfeydd cylchynol. Ceir golwg ddymunol ar Kobi o bellder, a lle newydd ydyw i raddau, ac y mae adeiladau da i'w gweled yn mhob cyfeiriad. Amgylchynir y ddinas gan fryniau prydferth, ar y rhai y mae anedd-dai wedi eu hamgylchynu gan rodfeydd a gerddi ardderchog. Wedi glanio yn y ddinas, llogais *jinrikisha* i fy nghymeryd at *water-fall* yr oeddwn wedi clywed cymaint am dano, ac yn mhen yr awr yr oeddwn yn ymyl y rhaiadr. Bu raid i mi gerdded i fyny y mynydd, am fod y ffordd yn rhy serth i *jinrik-*

*isha.* Nid oes dim rhyfeddod neillduol yn y rhaiadr hwnw, am nad yw yn disgyn ond i'r dyfnder o 60 o droedfeddi. Lle rhamantus iawn yw, ac y mae teml yn ymyl y rhaiadr, yr hon sydd yn werth ei gweled. Dychwelais i'r ddinas drwy wlad fras, ffrwythlon, a dymunol dros ben, ac yr oedd y palasau a'r gerddi yn ardderchog. Rhaid fod y Japaneaid yn arddwyr anghydmarol. Yno yr oedd llawer o berthi prydferth, a'r *boxwood* yn ffurfio gwrychoedd tewion a thlysion. Hefyd, yr oedd llawer o'r coed isel a'u cangenau wedi eu tori yn y fath fodd fel ag i wneyd llun gwahanol greaduriaid ar y meusydd, yr hyn oedd yn dangos cynlluniau medrus a chywreinrwydd mawr.

Wedi blino yn edmygu y golygfeydd annghydmarol hyny, a'r hin yn hynod o boeth, penderfynais fyned i'r baddon yr oeddwn wedi clywed cymaint o son am danynt, o herwydd rhinwedd meddygol y dwfr. Yr oedd y lle yn rhan uchaf y ddinas, ac yno gwelais adeiladau mawrion, glân yr olwg arnynt, a llawer o'r Japaneaid yn myned a dyfod o gylch y lle. Dyna y *springs* y sonir cymaint am danynt. Teflais 10 cent i'r dyn yn y dollfa, ond deallais mai 2 cent oeddynt yn godi Wedi myned i mewn i'r baddon, gwelwn yno tua haner cant o bobl yn yr ymdrochfa. Yr

oeddynt yn ymdrochi mewn tyllau yn y llawr coed uwchben y dwfr. Yr oedd y tyllau hyn tua phedair troedfedd ysgwar. Cefais fy synu yn aruthrol pan ddeallais fod yr haner cant oeddynt yn ymdrochi yn gymysg o ferched a meibion, hen ac ieuainc, llanciau a genethod. Mewn gair, yr oeddynt o bob oedran, yn wrywod a benywod, yn golchi ac yn rhwbio eu gilydd, mor ddigyffro a difrifol a phe buasent mewn ysgol Sul yn dysgu eu gilydd. Rhaid i mi ddweyd nad oeddwn yn ddigon digywilydd fy hunan i wneyd yr un fath a'r bobl hyny; ond meddyliais am yr hen ddywediad, fod yn "Rhaid gwneyd pob peth yr un fath a'r Rhufeiniaid tra yn Rhufain." Holais am ystafell ddirgel i mi fy hun, a chefais un, yn yr hon yr oedd ffynon o ddwfr lled boeth, tua thair troedfedd o ddyfnder, ac ymdrochais yn dda. Yr oedd pob man yn hollol lân a dymunol. Wedi darfod, aethym yn ol i'r dref, a gwelais lawer o ystordai, yn cynwys y cywreinweithiau rhyfeddaf a welais erioed o'r blaen. Mae yn debyg fod y Japaneaid y rhai mwyaf cywrain yn y byd am wneyd mân ddodrefn, a phethau eraill—pob cerfiadau i arddangos y deyrnas lysieuol, anifeilaidd, &c., &c. Gellir aros dyddiau yno i edrych ar olygfeydd hynod, mewn celfyddydwaith o bob math. Mae

rheilffordd yn rhedeg o Kobi yn mhell i'r wlad, ac y mae naw neu ddeg o agerfadau yn rhedeg yn ol ac yn mlaen i ddinasoedd eraill ar lanau y môr, yr hyn sydd yn gwneyd i Kobi ymddangos yn llawn o fywyd, yn enwedig yn y llongborth.

Yn yr hwyr hwyliasom allan o gulfor Kobi, ar ein mordaith am Yokohama, a chyraeddasom yno ar foreu yr ail ddydd. Daeth deuddeg o deithwyr Japaneaidd o'r radd flaenaf i mewn yn Kobi, ac yn eu plith yr oedd y Gweinidog Rhyfel. Hefyd, yr oedd ar fwrdd yr agerlong, mewn lle israddol, 300 o Japaneaid yn myned i Yokohama. Talasant $600 yr un am eu cludiad yn unig.

Yokohama yw prif borthladd yr Ymerodraeth. Yr oedd y llongborth yn llawn o longau masnachol o bob math, yn nghyd a chadlongau y gwahanol wledydd. Y cadlongau mwyaf nerthol, a'r rhai goreu o lawer oedd eiddo Rwsia; ac mae hyd yn nod y Prydeinwyr yn cyfaddef hyn. Nid ydyw Yokohama yn brydferth o'r llongborth, nac yn gyffelyb i Kobi a Nagasaki; ond er hyny ceir gweled mor fuan ag y rhoddir troed ar y lan mai yno y mae busnes yn myned yn mlaen. Cyfarfyddir a llawer mwy o Ewropeaid ac Americaniaid yn Yokohama nag yn unrhyw ddinas arall yn

y Dwyrain. Hefyd y mae yno lawer mwy o Japaneaid yn gwisgo dillad Ewropeaidd nag a welir mewn un lle arall. Eto gellir dweyd nad oes un o bob cant o'r brodorion yn gwisgo dillad Ewropeaidd, o herwydd fod yr arferiad cartrefol yn rhatach, a'r dillad yn llawer mwy hwylus na'r eiddo pobl Ewrop ac America.

Yr oedd yn rhaid myned drwy y tolldy, a bu raid i mi ddefnyddio fy holl amynedd tra yr oeddynt yn chwalu fy holl gelfi, fel pe buasent wedi penderfynu gwneyd i mi dalu toll. Deallais mai bod yn amyneddgar yw y goreu, ac agor y blychau a'r coffrau yn ddirwgnach; ac wedi archwilio un, ei gloi cyn agor y llall, yna gellir cadw y cynwysiad mewn gwell trefn. Ac heblaw hyny bydd yn haws felly i'r teithydd wylio y swyddogion fyddant yn archwilio y pethau, canys mae llawer o honynt heb fod yn nodedig o herwydd gonestrwydd.

Wedi myned i'r dref rhoddais i fyny yn No. 76. Nid oes enwau ar yr heolydd, ac wrth y rhifnod y deuir o hyd i bob man, ac mae yn debyg fod No. 77 yn mhen arall yr heol, yn yr hon yr oeddwn yn aros! Beth bynag, ni raid ond cofio y rhif, a dodir y person i lawr yn ei ymyl gan y *jinrickisha*. Cludir person ar garlam gwyllt, a dodir ef i lawr yn ei gryn-

swth wrth ddrws y ty am 5c. neu 10c., hyd yn nod pe byddai y pellder yn ddwy neu dair milldir. Dechreuwyd y dull rhyfedd hwn gyda'r *numbers* wrth gymeryd y *lots* yn y dechreu, a rhoddi y rhifnod arnynt fel yr oeddynt yn cael eu cymeryd i fyny. Wrth fwyta ein ciniaw nid oedd ond tri o honom yn eistedd yn ymyl y bwrdd, a chredais yn y fan fy mod wedi gweled y ddau arall o'r blaen. Deallais yn fuan mai Proff. Henneka a'i wraig oedd fy nghydymborthwyr, y rhai oeddwn wedi gyfarfod yn Melbourne, Australia. Yr oedd Madam Henneka yn ymddangos mor naturiol a phan welais hi yn Melbourne. Mae y Proffeswr yn frawd o waed coch cyfan i John Pope Hennessy, Llywodraethwr Hong Kong; eithr nid yw John yn arddel ei frawd am iddo droi oddiwrth Babyddiaeth. Bu y Proffeswr drwy lawer o wledydd y Dwyrain yn actio *Magic*; ond cafodd fod y Japaneaid yn gwybod llawn cymaint ag yntau am bethau felly. Bum yn gweled y Japaneaid yn perfformio *Magic*; a chefais fwy o ryfeddodau a phleser am ddwy cent nag a gefais ar ol talu dolar am weled campiau Proff. Henneka. Mae y Japaneaid yn rhyfeddol o *smart* gyda'r pethau hyn. Buom gyda'r Proff. yn gweled adar a addysgwyd yn gwneyd campau, a chyfaddefodd y

Proffeswr na welodd y fath ryfeddod erioed o'r blaen, er iddo weled *performing birds* yn mhrif wledydd y byd.

Ceir yn Yokohama rai adeiladau da, yn enwedig yn y rhan Ewropeaidd o honi; ond maent wedi eu gwneyd yn wahanol i ddim a welais erioed o'r blaen. Rhoddir ffram i fyny yn gyntaf, yna llenwir i mewn geryg meddalion, wedi eu naddu a bwyall, y rhai ydynt yn dair troedfedd o hyd, 12 modfedd o led, a 6 modfedd o drwch. Gosodir hwy ar eu hochrau, y naill ar y llall, hyd ben yr adeilad. Rhoddir *cement* rhyngddynt, ac mae bachau haiarn o'r ceryg i'r gwaith coed. Gellir dweyd fod yr adeiladau yn Yokohama yn ymddangos yn brydferth, ac er mor feddal yw y ceryg, dywedir y parhant yn hir iawn, a'u bod yn ateb yr un dyben a phriddfeini, neu wenithfaen. Mae y Chineaid wedi cael gafael yn mhob cangen o fasnach yn Yokohama. Adeiladwyd anedd-dai yr Ewropeaid cyfoethog, yr ysbytai a'r adeiladau cyhoeddus, ar ucheldir (*bluffs*) gyferbyn a'r mor, ac maent mewn lleoedd iach a dymunol. Rhaid cyfaddef fod yno lawer o balasau gwychion a phrydferth.

Yr oedd yn rhaid i mi ymadael o Yokohoma, a myned i'r wlad 52 o filldiroedd i'r ffynonau, a elwir Ashinoyu, yn y mynydd-

oedd. Llogais *jinricksha* i fyned yno, yn nghyd a dau ddyn i fy nhynu i dre o'r enw Odawara, 38 o filldiroedd o Yokohama, a hyny am fod yn anmhosibl i'r cerbyd rhyfedd fyned yn mhellach, o herwydd gerwinder y ffordd, yr hon oedd yn anarferol o arw. Daeth y ceffylau dynol a'u cerbyd at y drws yn ol eu haddewid, erbyn saith yn y boreu. Teflais fy sypyn i mewn, ac yr oedd y dynion yn barod, un fel ceffyl bon rhwng llorpiau y cerbyd, a'r llall wedi sicrhau strap am dano, yn tynu yn geffyl blaen, rhyw bedair troedfedd o flaen y llall; ac yn fuan yr oedd y ddau, fel dau geffyl yn union, yn aflonydd o eisiau cael cychwyn. O'r diwedd neidiais i mewn, a ffwrdd a hwy drwy y dref ar garlam gwyllt, ac yn mlaen dros y gelltydd a thrwy y dyffrynoedd heb arafu dim nes oeddym mewn ty te, chwe' mill-dir o'r dref! Yn ol yr arferiad yn Japan, deuwyd a the i ni heb ddim siwgr ynddo, a hwnw mewn cwpanau bychain, ychydig fwy na gwniadur gyffredin; ond ceir mwy os dewisir. Yr oedd hyny yn llawn ddigon genyf fi; eithr yr oedd y dynion yn yfed llawer, ac yn bwyta pytatws melusion gyda'r te, neu rywbeth arall agosaf atynt. Rhoddais 10c. i un o'r genethod tlysion am y te, a chafodd ei mawr foddloni. Gorphwysasom yno ddeng

mynyd. Buasai y merched yn foddlon ar dair neu bedair cent am y te, fel y deallais ar ol hyny; ond yr oedd yn ddigon rhad am 10c. Yr oeddym yn myned drwy wlad anarferol o brydferth, hyfryd a thoreithiog, wedi ei llafurio yn dda a'i phoblogi yn dew. Yn mhen pum' milldir yn mhellach, daethom at dy te arall, ac arosasom yno bum' mynyd. Ni thelais ond 3c. am yr holl de yma, ac yr oeddynt yn dra diolchgar. Os oedd y rhan gyntaf o'r ffordd yn arw a drwg, cawsom ffordd dda wedi hyny, yn cael ei hamgylchu gan y tir goreu a mwyaf dymunol a welais erioed. Yr oeddym yn aml yn myned drwy bentrefydd tua milldir o hyd; eithr nid oedd tai ond ar ddwy ochr i un ffordd. Yr oedd y tai te a'r *hotels* yn dra aml, a'r *dancing girls* i'w gweled yn mhob man. Yr oeddym yn cyfarfod a chanoedd o bobl ar y ffordd, mewn cerbydau yn cael eu tynu gan geffylau dynol. Pan tua 15 milldir o'r ddinas, yr oeddym wedi gadael y bryniau, a dyfod i'r gwastadedd, lle y gallem weled mynyddoedd Japan. Cyrhaeddasom ddinas Odawara erbyn haner awr wedi tri yn y prydnawn, pellder 38 o filldiroedd o Yokohama, a hyny mewn ychydig dros wyth awr. Yr oedd yn anmhosibl myned yn mhellach gyda'r cerbyd, o herwydd y mynyddoedd serth

oeddynt ar y ffordd. Telais dair dolar i'r dynion am eu llafur, ac yr oedd hyny yn fwy nag a fuasent yn enill yn Yokohama. Dichon iddynt enill ychydig wrth ddychwelyd.

Dyna fi mewn tre Japaneaidd, heb un Ewropead o'i mewn ond y fi fy hun, na neb yn deall cymaint a gair o'r iaith Saesonaeg, ac nid oeddwn inau yn deall ond dau neu dri o eiriau Japaneaidd. Ofnais y cawswn lawer o drafferth i gael neb i fy neall. Aethym i'r *hotel* fwyaf yn y ddinas, eithr nid oedd na ffenestri na drws arni! Yr oedd y ffrynt i gyd yn agored, a'r llawr droedfedd yn uwch na'r heol, a hwnw wedi ei orchuddio i gyd a *matting* glân. Yr oedd yno fath o borth, ac yn hwnw cyfarfyddwyd fi gan ddwy ddynes, y rhai a'm cyfarchasant yn ol defod Japan, drwy fyned ar eu gliniau a tharo eu talcenau ar y llawr! Dyna arwydd croesaw i'r ty; ond cyn myned gam yn mhellach drwy y porth, yr oedd yn rhaid i mi dynu fy esgidiau; yna rhoddasant ryw fath o *slippers* i mi, ond nid allwn gerdded ynddynt. Teflais y rhai hyny o'r neilldu, a cherddais ar ol y merched i'r llofft yn nhraed fy hosanau. Cymerwyd fi i ystafell fawr lle yr oedd dwsin neu ddau o Japaneaid yn barod; a rhoddwyd finau i eistedd ar y llawr, yr un fath a'r lleill, canys ni

ddefnyddir un math o gadeiriau yn Japan. Ar ol hyn dygwyd y *shiwng* i mi, sef math o own, neu hugan i'w roddi am danaf; canys y mae yn ffasiwn yn Japan i ddyn dyeithr dynu ei ddillad oddiam dano mor fuan ag y daw i mewn, a rhoddi y *shiwng* am dano, yn lle ei ddillad ei hun. Wedi hyny deuwyd a thân i mi mewn llestr pridd, a thobaco i'w fygu mewn pibell. Blinais yn fuan wrth eistedd ar y llawr yn y dull hwnw. Rhoddais fy *nghar-pet-bag* dan fy mhen, a gorweddais i orphwys, a chysgais am awr. Wedi deffroi, meddyliais y dylwn gael ymolchi. Nid oes clychau yn Japan i alw ar y gweision, ond gwneir hyny drwy guro dwylaw yn nghyd. Curais fy nwy-law yn nghyd, a daeth dwy ferch ieuainc ataf, ac eisteddasant o fy mlaen i dderbyn gorchy-mynion. Llwyddais, fel y tybiaswn, i wneyd iddynt ddeall fod arnaf eisiau dwfr i ymolchi. Dylynais hwy i ran arall o'r adeilad, a dangosas-ant i mi le i ymolchi, sef pwll o ddwfr 8 troed-fedd o hyd, 4 troedfedd o led, a dwy troed-fedd o ddyfnder. Yr oedd y celwrn hwn i faddio ynddo yn y lle amlycaf yn y gwesty, a phobl yn pasio yn ol ac yn mlaen yn barhaus; ac nid oedd na dor na llen i fy nghysgodi. Bum yn myfyrio am amser beth a wnawn; ond o'r diwedd cefais ddigon o wroldeb i neid-

io i'r dwfr i ymdrochi mor fuan ag y gallwn, cyn i neb ddyfod heibio; ond gwarchod pawb neidiais allan yn llawer cyflymach, o herwydd meddyliais fod y dwfr agos yn ferwedig. Curais fy nwylaw yn iawn, canys yr oedd pob cywilydd wedi darfod yn awr, a daeth dwy ferch ataf, y rhai a roddasant i mi ddigonedd o ddwfr oer.

Wedi dychwelyd i'r fan lle yr oeddwn cyn myned i'r baddon, rhoddais ar ddeall fod arnaf eisiau ymborth, a dygwyd i mi reis, pysgod ac wyau. Nid oedd dim i'w gael i fwyta reis ond y *jopsticks*, yn lle llwyau, ac yr oeddwn yn hynod o anghelfydd gyda y rhai hyny yn y dechreu; ond cyn dychwelyd o Japan yr oeddwn yn cael hwyl wrth fwyta gyda'r *jopsticks*, neu breniau meinion, crynion. Yr oedd yn amlwg fod yn rhaid i mi wneyd fy meddwl i fyny i aros lle yr oeddwn y noson hono.

Wedi cael swper, llety, a boreufwyd, deallais mai 75 cts. oedd fy nyled, bernais hyny yn dra rhesymol. Deallais fod Ashinoyu, lle yr oeddwn i fyned, ar ben mynydd ac yn 12 milldir o bellder. Yr oedd yn ofynol i mi gael rhywbeth i fy nghario yno, ac yn y cyfamser llogais fath o hamog i orwedd ynddo, a dau ddyn i fy nghario—oll am $1.50. Oddeutu 8 o'r gloch yn y boreu, daeth naw neu ddeg o

forwynion yr *hotel* i'r porth, lle y rhoddais fy esgidiau am fy nhraed, yn benaf i fy ngweled yn cychwyn, ac i roddi moesgyfarchiad boneddigaidd i mi. Wedi fy mynediad i'r hamog, yr oedd y *bow* a roddasant yn cyraedd hyd y llawr, ac yn fawreddog yr olwg arno. Dylaswn ddweyd o'r blaen fod yn rhaid i mi ddangos fy nhrwydded (*passport*) i deithio, yr hwn a gefais gan y Trafnoddydd Americanaidd yn Yokohama am 25c. Yr oedd yn rhaid ei ddangos yn y gwesty yn Odawara, ac ni cheir teithio yn Japan heb y fath drwydded.

Wel, dyna fi yn yr hamog, yn cael fy nghario yn ddau ddwbl gan ddau ddyn, ac yr oedd y rhan gyntaf o'r daith gyda glan afon risialaidd, a golygfeydd hyfryd a dymunol ar bob llaw. Hefyd yr oedd mynyddoedd uchel, clogwynog a chreigiog, i'w gweled yn mhob cyfeiriad; ond y fan yma, rhaid i mi ddweyd mai dyna y dull mwyaf annymunol ac annifyr i deithio a welais erioed yn fy mywyd. Yr oedd yr hamog wedi ei wneyd yn y fath fodd fel nad oedd yn ddichonadwy bod ynddo ond yn unig ar eistedd, fel teiliwr, a fy nghoesau yn groesion, a fy nhraed dan fy mhwysau. Fel hyn y mae y Japaneaid yn hoffi cael eu cario; ond yr oedd fy nghoesau i yn myned i gysgu, ac mewn cyffion, nes yr oeddwn yn teimlo cawodydd o

binau yn treiddio drwy fy nghnawd. Yr oeddwn yn methu aros pum' mynyd ar y tro yn y fath le, a'r canlyniad fu i mi gerdded y rhan fwyaf o'r daith. Yr oedd y llwybr i Ashinoyu dros y lleoedd mwyaf rhamantus a welais erioed, ac yr oedd y golygfeydd yn ysplenydd ac ardderchog. Aethom heibio i nifer mawr o dai te, a thrwy amryw o bentrefydd, hyd nes y cyrhaeddasom le o'r enw Hata, haner y ffordd rhwng Odawara a Hakone. Mae Hata yn lle hynod mewn hanesyddiaeth, a'r trigolion yn enwog fel crefftwyr cywrain mewn gwaith coed, a phob math o gywrain bethau perthynol i Japan. Ymddengys eu bod yn *wood-turners* heb eu bath, a gellir prynu pob math o gywrain bethau wedi eu gwneyd o goed yno, yn rhyfeddol o rad. Yr oedd y ffyrdd yn y parthau hyn yn hynod o ddrwg, er i'r llywodraeth eu gwneyd yn dda yn aml; ond dinystrir hwy gan ddaeargrynfau. Bu raid i ni gael ymborth yn y gwesty cyn dechreu dringo llwybr serth oedd o'n blaen. Deallais fod y mynydd yn 3,500 o droedfeddi o uchder, a'r llwybr i'w ben mor syth a grisiau i lofft! Cerddais i fyny bob cam, er fy mod yn teimlo yn dra gwan a lluddedig; ac wedi cyraedd gwastadedd y top, aethym i'r hamog, i gael fy nghario y gweddill o'r ffordd i Ashin-

oyu. Bu raid i mi gael gorphwys yn awr a phryd arall i weled y golygfeydd mawreddog o ben y mynydd, a thrwy wydr yr oeddwn yn gallu gweled Yokohama, ac yr oedd Odawara a'r cylchoedd yn ymddangos wrth ein traed. Mewn gwironedd y oedd y golygfeydd hyn yn rhoddi yr oll a welais yr Nghymru yn hollol yn y cysgod. Yn y cyfamser, daeth Ashin-oyu i'r golwg, mewn tipyn o bant. Yn fuan deallais fod chwech neu saith o *hotels* at wasanaeth ymwelwyr, a'r ffynonau, ac mae hwn yn lle enwog iawn yn Japan. Aethym i mewn i'r brif *hotel*, a chefais allan yn fuan mai dwy ddolar y dydd oedd y pris, ac yr oedd yno bump o Ewropeaid ar y pryd. Deallais fod tri o honynt o Hong Kong, China, a'r lleill o Yokohama. Aethym yn gydnabyddus a'r boneddigion hyn rhag blaen, a chan fod gwraig y gwesty yn medru siarad Saesonaeg, cefais hwyl dda yn fuan. Yn y lle hwn, cefais gyllell, fforc, a llwy i fwyta, a siwgr i'w roddi mewn te a choffi, ac felly teimlais mewn rhan fel pe buaswn mewn gwesty Ewropeaidd. Er y cwbl, yr oedd yn rhaid gwisgo yr hen hugan dros y corff, yn lle dillad cyffredin yno; ond rhaid cydnabod eu bod yn rhai hwylus iawn i rai fyddant yn cymeryd *bath* yn aml. Wedi cael ymborth, aethym i'r *bath*, yr hwn

sydd yn ymyl yr *hotel.* Mae y *baths* oll dan dô, ychydig i lawr dan y ddaear, a grisiau i fyned i lawr iddynt. Ceir yno ddau le neillduol i Ewropeaid, sef ystafell fechan yn cynwys *bath* tua phum' troedfedd ysgwar, ac y mae y twll neu y ffynon yn 2½ o droedfeddi o ddyfnder. Wedi agor dwfr-ddor fechan ar un ochr, ymffrydia y dwfr i mewn, yr hwn oedd yn ddigon poeth i ferwi wyau; ond ar yr ochr arall mae dwfr oer, o'r un natur i'w ollwng i mewn, i dymeru y bathon. Dwfr *sulphur* a haiarn ydyw, ond fod sylweddau eraill yn gymysg ag ef, nad wyf yn cofio yn awr yr enwau oedd ganddynt arnynt.

Penderfynais aros yn y lle dros ddigon o amser i gael rhyw fudd oddiwrth y baddon, os oedd hyny yn gyraeddadwy, a'r canlyniad fu, i mi gymeryd y baddon dair gwaith yn y dydd am bymtheg o ddyddiau. Wel, yn lle cryfhau, fel y gobeithiwn wneyd, gwanhau yr oeddwn bob dydd; ond wedi hyny canfyddais i mi dderbyn adgyfnerthiad. Yr oedd yno rai yn dyoddef dan ddirdyniadau poenus y cryd-cymalau, ac anhwylderau o'r fath, â llawer yn gwella yn holliach. Yr oedd yn y ffynonau hyny yn yr haf, o 200 i 300 yn barhaus o ymwelwyr Japaneaidd, a gellir dweyd eu bod hwy yn y dwfr agos yr oll o'r amser. Mae

eu baddon yn debyg i ystablau, a math o *stalls* rhyngddynt, ac yn y rhai hyny gwelir y ddau ryw, sef y dynion a'r merched, oll yn gymysg, heb ddim swildod na chywilydd. Gwelais gynifer a 25 o Ewropeaid yn y lle am ddau ddiwrnod, ond anaml y gwelir yno ferched Ewropeaidd. Mae yn debyg mai yr achos o hyny yw, fod y Japaneaidd yn hynod o rydd yn eu harferion, ac nid oes neb o honynt hwy yn rhyfeddu dim wrth weled person yn berffaith noeth.

Yr amser goreu yn y lle ydyw y gwanwyn, a'r pryd hwnw bydd yr ymwelwyr yn dra lluosog, ond y mae Kiga, Miyanoshita, Hakone, a Tonosawa yn meddu baddon mwy yn y ffasiwn. Oddeutu tair milldir o'r lle y mae pentref Hakone, ac yno gwelir llawer o Ewropeaid yn barhaus yn misoedd yr haf. Aeth tri o honom yno un boreu, a chawsom un o'r golygfeydd mwyaf ardderchog a welwyd erioed o ben y mynydd. Mae yno lyn o'r fath harddaf, yn bum' milldir o hyd, ac yn gwahaniaethu o dair i bedair milldir o led. Mae tua milldir o'r llyn i'r pentref, ac y mae y coed ar ochrau y ffordd wedi cael digon o amser i dyfu, nes ffurfio golygfa brydferth a dymunol. Mae yr hin yn oer ac yn braf yn yr uchder hwn yn yr haf, yr hyn sydd yn denu ymwelwyr Ew-

ropeaidd i'r lle. Cymerasom gwch ac aethom dros y llyn i'r pen arall, lle y canfyddasom fod y dwfr yn myned allan o hono drwy dwnel i le gwastad, yna dyfrha feusydd reis perthynol i 17 o bentrefydd, cyn ei hymarllwysiad i'r mor.

Dychwelasom dros lechwedd y mynydd, lle nad oedd un math o lwybr, ond daear yn orchuddedig gan ludw, a daflwyd ryw dro o grombil y mynydd tanllyd. Mae canol y mynydd hwn yn dân ysol. Mae yn beryglus iawn myned yn rhy agos i'r hen agorfa yn y mynydd, canys gellir suddo i lawr i ganol lludw eiriasgoch. O'r lle hwnw yr oedd y mynydd byd-enwog, Fujiyama, yn y golwg, ac yn ymddangos yn ymyl, ond er hyny yr oedd yn y pellder o ugain milldir. Hwnw yw y mynydd uchaf yn Japan, ac a gyfrifir y mynydd mwyaf prydferth yn y byd; ac y mae ei gopa rhwng 14,000 a 15,000 o droedfeddi yn uwch na gwastadedd y mor. Yr oedd awydd mawr arnaf i fyned i ben hwn, ond ofnais ddylanwad yr oerni. Dywedir fod y golygfeydd o'i gopa yn wir ardderchog; ond nis gallaf ddeall pa fodd y mae yn ddichonadwy i'r un olygfa fod yn fwy perswynol, rhamantus, a godidog na'r golygfeydd oddiar y mynydd lle yr oeddwn, sef Hakone.

mynyd. Buasai y merched yn foddlon ar dair neu bedair cent am y te, fel y deallais ar ol hyny; ond yr oedd yn ddigon rhad am 10c. Yr oeddym yn myned drwy wlad anarferol o brydferth, hyfryd a thoreithiog, wedi ei llafurio yn dda a'i phoblogi yn dew. Yn mhen pum' milldir yn mhellach, daethom at dy te arall, ac arosasom yno bum' mynyd. Ni thelais ond 3c. am yr holl de yma, ac yr oeddynt yn dra diolchgar. Os oedd y rhan gyntaf o'r ffordd yn arw a drwg, cawsom ffordd dda wedi hyny, yn cael ei hamgylchu gan y tir goreu a mwyaf dymunol a welais erioed. Yr oeddym yn aml yn myned drwy bentrefydd tua milldir o hyd; eithr nid oedd tai ond ar ddwy ochr i un ffordd. Yr oedd y tai te a'r *hotels* yn dra aml, a'r *dancing girls* i'w gweled yn mhob man. Yr oeddym yn cyfarfod a chanoedd o bobl ar y ffordd, mewn cerbydau yn cael eu tynu gan geffylau dynol. Pan tua 15 milldir o'r ddinas, yr oeddym wedi gadael y bryniau, a dyfod i'r gwastadedd, lle y gallem weled mynyddoedd Japan. Cyrhaeddasom ddinas Odawara erbyn haner awr wedi tri yn y prydnawn, pellder 38 o filldiroedd o Yokohama, a hyny mewn ychydig dros wyth awr. Yr oedd yn anmhosibl myned yn mhellach gyda'r cerbyd, o herwydd y mynyddoedd serth

oeddynt ar y ffordd. Telais dair dolar i'r dynion am eu llafur, ac yr oedd hyny yn fwy nag a fuasent yn enill yn Yokohama. Dichon iddynt enill ychydig wrth ddychwelyd.

Dyna fi mewn tre Japaneaidd, heb un Ewropead o'i mewn ond y fi fy hun, na neb yn deall cymaint a gair o'r iaith Saesonaeg, ac nid oeddwn inau yn deall ond dau neu dri o eiriau Japaneaidd. Ofnais y cawswn lawer o drafferth i gael neb i fy neall. Aethym i'r *hotel* fwyaf yn y ddinas, eithr nid oedd na ffenestri na drws arni! Yr oedd y ffrynt i gyd yn agored, a'r llawr droedfedd yn uwch na'r heol, a hwnw wedi ei orchuddio i gyd a *matting* glân. Yr oedd yno fath o borth, ac yn hwnw cyfarfyddwyd fi gan ddwy ddynes, y rhai a'm cyfarchasant yn ol defod Japan, drwy fyned ar eu gliniau a tharo eu talcenau ar y llawr! Dyna arwydd croesaw i'r ty; ond cyn myned gam yn mhellach drwy y porth, yr oedd yn rhaid i mi dynu fy esgidiau; yna rhoddasant ryw fath o *slippers* i mi, ond nid allwn gerdded ynddynt. Teflais y rhai hyny o'r neilldu, a cherddais ar ol y merched i'r llofft yn nhraed fy hosanau. Cymerwyd fi i ystafell fawr lle yr oedd dwsin neu ddau o Japaneaid yn barod; a rhoddwyd finau i eistedd ar y llawr, yr un fath a'r lleill, canys ni

ddefnyddir un math o gadeiriau yn Japan. Ar ol hyn dygwyd y *shiwng* i mi, sef math o own, neu hugan i'w roddi am danaf; canys y mae yn ffasiwn yn Japan i ddyn dyeithr dynu ei ddillad oddiam dano mor fuan ag y daw i mewn, a rhoddi y *shiwng* am dano, yn lle ei ddillad ei hun. Wedi hyny deuwyd a thân i mi mewn llestr pridd, a thobaco i'w fygu mewn pibell. Blinais yn fuan wrth eistedd ar y llawr yn y dull hwnw. Rhoddais fy *nghar-pet-bag* dan fy mhen, a gorweddais i orphwys, a chysgais am awr. Wedi deffroi, meddyliais y dylwn gael ymolchi. Nid oes clychau yn Japan i alw ar y gweision, ond gwneir hyny drwy guro dwylaw yn nghyd. Curais fy nwylaw yn nghyd, a daeth dwy ferch ieuainc ataf, ac eisteddasant o fy mlaen i dderbyn gorchymynion. Llwyddais, fel y tybiaswn, i wneyd iddynt ddeall fod arnaf eisiau dwfr i ymolchi. Dylynais hwy i ran arall o'r adeilad, a dangosasant i mi le i ymolchi, sef pwll o ddwfr 8 troedfedd o hyd, 4 troedfedd o led, a dwy troedfedd o ddyfnder. Yr oedd y celwrn hwn i faddio ynddo yn y lle amlycaf yn y gwesty, a phobl yn pasio yn ol ac yn mlaen yn barhaus; ac nid oedd na dor na llen i fy nghysgodi. Bum yn myfyrio am amser beth a wnawn; ond o'r diwedd cefais ddigon o wroldeb i neid-

io i'r dwfr i ymdrochi mor fuan ag y gallwn, cyn i neb ddyfod heibio; ond gwarchod pawb neidiais allan yn llawer cyflymach, o herwydd meddyliais fod y dwfr agos yn ferwedig. Curais fy nwylaw yn iawn, canys yr oedd pob cywilydd wedi darfod yn awr, a daeth dwy ferch ataf, y rhai a roddasant i mi ddigonedd o ddwfr oer.

Wedi dychwelyd i'r fan lle yr oeddwn cyn myned i'r baddon, rhoddais ar ddeall fod arnaf eisiau ymborth, a dygwyd i mi reis, pysgod ac wyau. Nid oedd dim i'w gael i fwyta reis ond y *jopsticks*, yn lle llwyau, ac yr oeddwn yn hynod o anghelfydd gyda y rhai hyny yn y dechreu; ond cyn dychwelyd o Japan yr oeddwn yn cael hwyl wrth fwyta gyda'r *jopsticks*, neu breniau meinion, crynion. Yr oedd yn amlwg fod yn rhaid i mi wneyd fy meddwl i fyny i aros lle yr oeddwn y noson hono.

Wedi cael swper, llety, a boreufwyd, deallais mai 75 cts. oedd fy nyled, bernais hyny yn dra rhesymol. Deallais fod Ashinoyu, lle yr oeddwn i fyned, ar ben mynydd ac yn 12 milldir o bellder. Yr oedd yn ofynol i mi gael rhywbeth i fy nghario yno, ac yn y cyfamser llogais fath o hamog i orwedd ynddo, a dau ddyn i fy nghario—oll am $1.50. Oddeutu 8 o'r gloch yn y boreu, daeth naw neu ddeg o

forwynion yr *hotel* i'r porth, lle y rhoddais fy esgidiau am fy nhraed, yn benaf i fy ngweled yn cychwyn, ac i roddi moesgyfarchiad boneddigaidd i mi. Wedi fy mynediad i'r hamog, yr oedd y *bow* a roddasant yn cyraedd hyd y llawr, ac yn fawreddog yr olwg arno. Dylaswn ddweyd o'r blaen fod yn rhaid i mi ddangos fy nhrwydded (*passport*) i deithio, yr hwn a gefais gan y Trafnoddydd Americanaidd yn Yokohama am 25c. Yr oedd yn rhaid ei ddangos yn y gwesty yn Odawara, ac ni cheir teithio yn Japan heb y fath drwydded.

Wel, dyna fi yn yr hamog, yn cael fy nghario yn ddau ddwbl gan ddau ddyn, ac yr oedd y rhan gyntaf o'r daith gyda glan afon risialaidd, a golygfeydd hyfryd a dymunol ar bob llaw. Hefyd yr oedd mynyddoedd uchel, clogwynog a chreigiog, i'w gweled yn mhob cyfeiriad; ond y fan yma, rhaid i mi ddweyd mai dyna y dull mwyaf annymunol ac annifyr i deithio a welais erioed yn fy mywyd. Yr oedd yr hamog wedi ei wneyd yn y fath fodd fel nad oedd yn ddichonadwy bod ynddo ond yn unig ar eistedd, fel teiliwr, a fy nghoesau yn groesion, a fy nhraed dan fy mhwysau. Fel hyn y mae y Japaneaid yn hoffi cael eu cario; ond yr oedd fy nghoesau i yn myned i gysgu, ac mewn cyffion, nes yr oeddwn yn teimlo cawodydd o

binau yn treiddio drwy fy nghnawd. Yr oeddwn yn methu aros pum' mynyd ar y tro yn y fath le, a'r canlyniad fu i mi gerdded y rhan fwyaf o'r daith. Yr oedd y llwybr i Ashinoyu dros y lleoedd mwyaf rhamantus a welais erioed, ac yr oedd y golygfeydd yn ysplenydd ac ardderchog. Aethom heibio i nifer mawr o dai te, a thrwy amryw o bentrefydd, hyd nes y cyrhaeddasom le o'r enw Hata, haner y ffordd rhwng Odawara a Hakone. Mae Hata yn lle hynod mewn hanesyddiaeth, a'r trigolion yn enwog fel crefftwyr cywrain mewn gwaith coed, a phob math o gywrain bethau perthynol i Japan. Ymddengys eu bod yn *wood-turners* heb eu bath, a gellir prynu pob math o gywrain bethau wedi eu gwneyd o goed yno, yn rhyfeddol o rad. Yr oedd y ffyrdd yn y parthau hyn yn hynod o ddrwg, er i'r llywodraeth eu gwneyd yn dda yn aml; ond dinystrir hwy gan ddaeargrynfau. Bu raid i ni gael ymborth yn y gwesty cyn dechreu dringo llwybr serth oedd o'n blaen. Deallais fod y mynydd yn 3,500 o droedfeddi o uchder, a'r llwybr i'w ben mor syth a grisiau i lofft! Cerddais i fyny bob cam, er fy mod yn teimlo yn dra gwan a lluddedig; ac wedi cyraedd gwastadedd y top, aethym i'r hamog, i gael fy nghario y gweddill o'r ffordd i Ashin-

oyu. Bu raid i mi gael gorphwys yn awr a phryd arall i weled y golygfeydd mawreddog o ben y mynydd, a thrwy wydr yr oeddwn yn gallu gweled Yokohama, ac yr oedd Odawara a'r cylchoedd yn ymddangos wrth ein traed. Mewn gwironedd y oedd y golygfeydd hyn yn rhoddi yr oll a welais yr Nghymru yn hollol yn y cysgod. Yn y cyfamser, daeth Ashin-oyu i'r golwg, mewn tipyn o bant. Yn fuan deallais fod chwech neu saith o *hotels* at wasanaeth ymwelwyr, a'r ffynonau, ac mae hwn yn lle enwog iawn yn Japan. Aethym i mewn i'r brif *hotel*, a chefais allan yn fuan mai dwy ddolar y dydd oedd y pris, ac yr oedd yno bump o Ewropeaid ar y pryd. Deallais fod tri o honynt o Hong Kong, China, a'r lleill o Yokohama. Aethym yn gydnabyddus a'r boneddigion hyn rhag blaen, a chan fod gwraig y gwesty yn medru siarad Saesonaeg, cefais hwyl dda yn fuan. Yn y lle hwn, cefais gyllell, fforc, a llwy i fwyta, a siwgr i'w roddi mewn te a choffi, ac felly teimlais mewn rhan fel pe buaswn mewn gwesty Ewropeaidd. Er y cwbl, yr oedd yn rhaid gwisgo yr hen hugan dros y corff, yn lle dillad cyffredin yno; ond rhaid cydnabod eu bod yn rhai hwylus iawn i rai fyddant yn cymeryd *bath* yn aml. Wedi cael ymborth, aethym i'r *bath*, yr hwn

sydd yn ymyl yr *hotel.* Mae y *baths* oll dan dô, ychydig i lawr dan y ddaear, a grisiau i fyned i lawr iddynt. Ceir yno ddau le neillduol i Ewropeaid, sef ystafell fechan yn cynwys *bath* tua phum' troedfedd ysgwar, ac y mae y twll neu y ffynon yn 2½ o droedfeddi o ddyfnder. Wedi agor dwfr-ddor fechan ar un ochr, ymffrydia y dwfr i mewn, yr hwn oedd yn ddigon poeth i ferwi wyau; ond ar yr ochr arall mae dwfr oer, o'r un natur i'w ollwng i mewn, i dymeru y bathon. Dwfr *sulphur* a haiarn ydyw, ond fod sylweddau eraill yn gymysg ag ef, nad wyf yn cofio yn awr yr enwau oedd ganddynt arnynt.

Penderfynais aros yn y lle dros ddigon o amser i gael rhyw fudd oddiwrth y baddon, os oedd hyny yn gyraeddadwy, a'r canlyniad fu, i mi gymeryd y baddon dair gwaith yn y dydd am bymtheg o ddyddiau. Wel, yn lle cryfhau, fel y gobeithiwn wneyd, gwanhau yr oeddwn bob dydd; ond wedi hyny canfyddais i mi dderbyn adgyfnerthiad. Yr oedd yno rai yn dyoddef dan ddirdyniadau poenus y cryd-cymalau, ac anhwylderau o'r fath, â llawer yn gwella yn holliach. Yr oedd yn y ffynonau hyny yn yr haf, o 200 i 300 yn barhaus o ymwelwyr Japaneaidd, a gellir dweyd eu bod hwy yn y dwfr agos yr oll o'r amser. Mae

eu baddon yn debyg i ystablau, a math o *stalls* rhyngddynt, ac yn y rhai hyny gwelir y ddau ryw, sef y dynion a'r merched, oll yn gymysg, heb ddim swildod na chywilydd. Gwelais gynifer a 25 o Ewropeaid yn y lle am ddau ddiwrnod, ond anaml y gwelir yno ferched Ewropeaidd. Mae yn debyg mai yr achos o hyny yw, fod y Japaneaidd yn hynod o rydd yn eu harferion, ac nid oes neb o honynt hwy yn rhyfeddu dim wrth weled person yn berffaith noeth.

Yr amser goreu yn y lle ydyw y gwanwyn, a'r pryd hwnw bydd yr ymwelwyr yn dra lluosog, ond y mae Kiga, Miyanoshita, Hakone, a Tonosawa yn meddu baddon mwy yn y ffasiwn. Oddeutu tair milldir o'r lle y mae pentref Hakone, ac yno gwelir llawer o Ewropeaid yn barhaus yn misoedd yr haf. Aeth tri o honom yno un boreu, a chawsom un o'r golygfeydd mwyaf ardderchog a welwyd erioed o ben y mynydd. Mae yno lyn o'r fath harddaf, yn bum' milldir o hyd, ac yn gwahaniaethu o dair i bedair milldir o led. Mae tua milldir o'r llyn i'r pentref, ac y mae y coed ar ochrau y ffordd wedi cael digon o amser i dyfu, nes ffurfio golygfa brydferth a dymunol. Mae yr hin yn oer ac yn braf yn yr uchder hwn yn yr haf, yr hyn sydd yn denu ymwelwyr Ew-

ropeaidd i'r lle. Cymerasom gwch ac aethom dros y llyn i'r pen arall, lle y canfyddasom fod y dwfr yn myned allan o hono drwy dwnel i le gwastad, yna dyfrha feusydd reis perthynol i 17 o bentrefydd, cyn ei hymarllwysiad i'r mor.

Dychwelasom dros lechwedd y mynydd, lle nad oedd un math o lwybr, ond daear yn orchuddedig gan ludw, a daflwyd ryw dro o grombil y mynydd tanllyd. Mae canol y mynydd hwn yn dân ysol. Mae yn beryglus iawn myned yn rhy agos i'r hen agorfa yn y mynydd, canys gellir suddo i lawr i ganol lludw eiriasgoch. O'r lle hwnw yr oedd y mynydd byd-enwog, Fujiyama, yn y golwg, ac yn ymddangos yn ymyl, ond er hyny yr oedd yn y pellder o ugain milldir. Hwnw yw y mynydd uchaf yn Japan, ac a gyfrifir y mynydd mwyaf prydferth yn y byd; ac y mae ei gopa rhwng 14,000 a 15,000 o droedfeddi yn uwch na gwastadedd y mor. Yr oedd awydd mawr arnaf i fyned i ben hwn, ond ofnais ddylanwad yr oerni. Dywedir fod y golygfeydd o'i gopa yn wir ardderchog; ond nis gallaf ddeall pa fodd y mae yn ddichonadwy i'r un olygfa fod yn fwy perswynol, rhamantus, a godidog na'r golygfeydd oddiar y mynydd lle yr oeddwn, sef Hakone.

Wedi aros pum' diwrnod yn hwy yn Ashinoyu, aethym i Kiga, i ffynonau eraill, tua saith milldir, ac wedi hyny mentrais yn mlaen i ffynonau Miyanoshita a Tonosawa. Y lle blaenaf a gyfrifir yn oreu, ac yn aml gwelir boneddigesau gwynion yn baddio yno. Arosais chwe' diwrnod yn Tonosawa, a chefais bleser mawr yno, yn byw yn ol *style* y Japaneaid, mewn ty glân, yn bwyta ymborth Japaneaidd o'r fath oreu. Y mae llyn prydferth yn amgylchu yr *hotel* yr oeddwn yn aros, a digon o bysgod o bob lliw ynddo. Dyna le y carswn aros ar hyd fy oes, ac y mae yn sicr na fuaswn yn hiraethu am un lle arall. Yr oeddwn wedi myned yn dra hoff o'r baddon a dull y Japaneaid o fyw, gan eu bod yn gallu rhoddi blas da ar bob peth wrth ei goginio.

Wedi'r cwbl yr oedd yn rhaid ymadael, a chefais gwmni Sais i fyned i lawr i Odawara, a cherddasom yr holl ffordd. Llogasom *jinrikisha* i'n cario i Yokohama. Nid oeddwn yn llawer gwell fy iechyd pan ddaethym yn ol i No. 76, ac ofnais fy mod wedi cymeryd gormod o'r baddon; ond er y cwbl, teimlais yn fuan fy mod wedi derbyn lles, gan fy mod yn gallu bwyta yn awr yn well o lawer.

Cymerais y gerbydres o Yokohama i Tokio, un o'r dinasoedd mwyaf ei phoblogaeth yn y

byd, yn ol rhai awdurdodau, ac ni fuom ar y ffordd ond deugain mynyd, er y costiodd y daith gymaint ddwywaith ag a gostiasai teithio yr un pellder yn rhyw ran arall o'r byd. Wedi cyraedd y ddinas, llogais arweinydd a cherbyd, i ddangos y dref i mi, ac aethym drwy y temlau, y *bazaars*, y gerddi, y parciau, y pontydd, yr afonydd, yr adeiladau cyhoeddus, amgueddfau, gwestai, tai te, ac yn y blaen.

Mae dinas Tokio yn gorchuddio cant o filldiroedd ysgwar, ac mae yr heolydd yn llydain a glân, a'r rhodfeydd ar yr ochrau yr un modd. Mae heolydd y ddinas yn llawn o bobl, a chyfarfyddir llawer o'r *Japanese ladies* wedi ymwisgo yn ol ffasiwn y wlad yn olygus iawn; ac ar y cyfan yr oeddwn yn cael merched Japan yn brydferth a deniadol iawn; ac nid oes perygl gwneyd camsyniad rhwng y merched dibriod a rhai sydd wedi priodi, o herwydd can gynted ag y bydd i'r merched briodi, bydd iddynt wneyd eu danedd yn dduon gyda math o sylwedd tebyg i baent, yr hyn sydd ar unwaith yn dangos nad ydynt y pryd hwnw yn y farchnad.

Nihon yw enw priodol Japan, a'i feddwl yw, tir codiad haul. Mae y wlad yn un hynod o ffrwythlon a phrydferth, ac yn meddu 34,000,000 o bobl. Ceir yno hinsawdd iachus,

ac anfynych iawn y gwel y bobl eira; ac er fod Japan yn gyfoethog mewn pob math o fwnau, nid oes ond ychydig yn cael eu gweithio. Ffurfir yr ymerodraeth gan ddwy ynys fawr, yn cynwys 250,000 o filldiroedd ysgwar, a llawer iawn o ynysoedd llai. Buddhistiaeth yw y grefydd, ac mae y wlad yn llawn o demlau ardderchog yn perthyn i'r grefydd hono. Y Portugeaid oedd yr Ewropeaid cyntaf i lanio yn yr ymerodraeth, ac mae yn ymddangos fod Japan wedi taflu ei hun yn agored i fasnachu gydag Ewrop. Hefyd, y mae yno lawer iawn o Ewropeaid ac Americaniaid yn byw ac yn masnachu, er nad oes yno gynifer ag a fu. Mae y Japaneaid yn dysgu pob math o gelfyddydwaith yn fuan, ac wedi i'w hathrawon Ewropeaidd eu dysgu mewn unrhyw grefft neu gelfyddyd, telir iddynt yn dda, yna anfonir hwy yn ol i'w gwlad eu hunain. Arian papyr sydd yno gan mwyaf, ac maent yn myned i fyny ac i lawr, yr un modd ag y bu y *greenbacks* yn America. Pan oeddwn yno yr oedd yn ofynol cael $1.60 o bapyr i brynu un ddolar arian; ond daw pethau yn well, canys y mae Japan yn wlad ardderchog.

Erbyn i mi ddychwelyd i Yokohama, yr oedd yr *American mail* wedi cyraedd o San Francisco; a dyma lle yr oedd rhuthro am y

newyddiaduron, er cael gweled y newyddion diweddaraf ar bynciau y dydd. Y San Francisco *Weekly Bulletin* oedd y newyddiadur wythnosol oedd yn cael mwyaf o gylchrediad yn China a Japan, a gallaf finau dystio mai hwn oedd y mwyaf dewisol genyf finau ac yr oeddwn yn ei dderbyn tra yn China, am fod Cymry gwladgarol ar *staff* y *Bulletin.* Mae mwy o newyddion Cymreig ynddo nag yn y lleill, a dyna un achos ei fod yn fwy dewisol gan y Cymry yn mhob man.

---

## PENNOD XV.

*Mordaith o Japan i California—Ymddyddanion y teithwyr—Glanio yn San Francisco, ar ol bod yn absenol bum' mlynedd—Y cyfnewidiadau—Y Cymry—Ymweliad a Placerville—Newyddion tor-calonus—Taith i Yuma, Arizona—Y mwngloddiau—New Mexico a'i helyntion—Taith i Texas a Mexico, ac yn ol i New Mexico—Tri mis yn y mwngloddiau—Cyraedd New York, &c.*

Yn Yokohama, ymdrechais fy ngoreu gael llong i fyned i ryw borthladd yn America Ddeheuol, yna cawswn gyfle i fyned i Patagonia; ond methais, ac felly nid oedd dim i'w wneyd ond troi fy ngwyneb tua California.

Cyfarfyddais ag athraw ysgol, ar ol enw yr hwn yr oedd M. A., a chymerasom gludiad yn yr agerlong *City of Pekin*, un o'r llestri mwyaf ar y Tawelfor. Yr oedd y Llyngesydd Paterson yn un o'r teithwyr, yn dychwelyd i Washington, ar ol bod dair blynedd ar fwrdd y gadlong *Richmond*.

Chwareuodd y seindorf bres ar y lan cyn i ni hwylio, "*Home, Sweet Home*," a darnau eraill yn hynod o effeithiol. Yr oedd genym yn awr agos i 5,000 o filldiroedd o for i'w groesi; ac yr oedd y teithwyr yn cynwys Americaniaid, Prydeinwyr, a phobl o amryw barthau o Ewrop. Yn eu plith yr oedd un Ffrancwr ffraeth a doniol, yr hwn oedd yn hynod hwyliog wrth gydmaru y gwahanol wledydd yr ymwelodd a hwy â Ffrainc. Un diwrnod darfu i un o'r Americaniaid haeru fod y Talaethau Unedig yn mhell o flaen y gweddill o'r byd mewn gwareiddiad, moesgarwch, a phob peth rhinweddol arall; ac amcanodd ddwyn ffeithiau i brofi ei osodiad. Eithr yr oedd y Ffrancwr yn ystyried yr hyn a ddywedodd yn ymffrost Yankeeaidd, a haerodd nad oedd dau o bob deg o'r Americaniaid yn gwybod sut i fwyta yn briodol. Mae wyth o bob deg o honynt yn rhoddi y gyllell yn eu cegau wrth fwyta; ac maent yn gwneyd llawer o bethau

eraill a ystyrir gan foneddwyr a phendefigion yn dra gwrthun. Hefyd haerodd nad oedd y Prydeinwyr na'r Americaniaid, yn deall pa fodd i goginio ymborth yn y dull goreu; ac yr oedd efe yn credu y gallai coginwyr Ffrainc, wneyd gwell pryd o fwyd gyda'r gweddill a deflir ymaith, na'r prydiau a gafodd ef mewn llawer o fanau yn America.

Yr oedd hefyd tua 200 o Chineaid ar y bwrdd. Wedi i ni fod allan yn y mor un diwrnod, daeth yr agerlong *Oceanic* i'n cyfarfod; eithr ar ol hyny ni welsom yr un lestr ar hyd y daith. Cyrhaeddasom y *meridian*, lle dechreuir cyfrif y dydd, ddydd Sul, ac fel mae yn rhyfedd dweyd, cawsom ddau ddydd Sul, a chadwasom y cyntaf yn santaidd. Daliasom mor uchel i'r gogledd a lledred 47, ac felly yr oedd y tywydd yn oer ac annymunol y rhan helaethaf o'r daith; ond yr oedd y gwynt yn deg i ni, a gwnaethom un o'r teithiau cyflymaf, sef mewn 14 o ddyddiau.

Dyma fi eto yn San Francisco, sef y lle y cychwynais o hono bum' mlynedd yn flaenorol. Nis gall neb wrth lanio yn America, a myned drwy y tolldy deimlo fod ynddi ddim rhyddid, eithr yn hytrach i'r gwrthwyneb; canys canfyddir eu bod yn codi toll drom iawn ar bob peth agos. Codir tollau yn Amer-

ica ar amryw o bethau a dderbynir yn rhad i wledydd eraill. Gwel y teithwyr fod llawer mwy o ryddid oddiwrth dollau yn Lloegr a'i Threfedigaethau, nag sydd yn America, "gwlad y rhyddid."

Wrth gerdded prif heol San Francisco, y diwrnod y glaniais yno o China, yr oeddwn yn argyhoeddedig nad oedd pethau mor fywiog ag oeddynt pan ymadawswn bum' mlynedd yn flaenorol. Er fod rhai adeiladau gwychion wedi cael eu codi ar Market Street, yr oeddwn yn methu yn glir a chredu fod agos gynifer o bobl i'w cyfarfod ar yr heolydd, na chymaint o fywyd masnachol yn ganfyddadwy. Argraff gyffelyb a adewid ar fy meddwl wrth i mi ymlwybro ar hyd Montgomery a Kearney Streets; a phan ddaethym i California Street, lle yr oedd bum' mlynedd yn ol filoedd o bobl yn amgylchu y *Stock Exchange* yn y gobaith o ddyfod i feddiant o gyfoeth drwy gamblo mewn *stocks*, cefais fod pethau wedi cyfnewid yn ddirfawr. Nid oedd ond ychydig o bobl bum' mlynedd yn ol, nad oeddynt yn delio mewn rhyw *mining stock*; ie, gwelid hyd yn nod gweithwyr tlodion, a morwynion gweini, yn anturio eu holl enillion. Mae arian y bobl erbyn hyn wedi myned i goffrau Flood, O'Brien, Mackee, Fair, a'u cyffelyb. Pa fodd

bynag, y mae llawer yn dal i gamblo, a chlywir am rywrai yn feunyddiol yn colli eu holl eiddo. Cwrddais ag amryw o wynebau adnabyddus i mi o amgylch yr *Exchange*, a chefais ymgom a rhai o honynt; ac yr oeddynt oll yn cyd-ddweyd eu bod wedi eu dyfetha, un ai trwy ddelio mewn cyfranau eu hunain, neu ynte trwy i'w dyledwyr golli trwyddynt.

Gair am y Cymry: Pan oeddwn yn ymadael o San Francisco, yr oedd pedwar gwesty Cymreig, neu *Hotels*, fel y gelwid hwy, ar heol Broadway; ond erbyn hyn enw Italaidd sydd ar yr hen *Cambrian House*, a deallais nad oedd un Cymro yn cadw ty cyhoeddus ar yr holl heol. Ac ni welais neb a fedrai barablu yr iaith Gymraeg, hyd nes y cyrhaeddais swyddfa Proff. Price, yr hwn oedd yn brysurach, ac yn gwneyd mwy o fasnach nag erioed. Yno cyfarfyddais ag Obedog o Fon, J. R. Jones, ac amryw o Gymry caredig eraill mewn llawn gwaith. Ar ol hyn, ni chefais nemawr o drafferth i ddyfod o hyd i gynifer o'm hen gyfeillion Cymreig ag oeddynt yn aros yn y ddinas. Yn mhlith y Cymry mwyaf nodedig, enwaf Mri. R. T. Roberts, N. L. Jehu, H. A. Powell, W. A. Jones, Evan Watts, Rees Llewelyn, ac yn olaf Samuel Williams, Ysw., golygydd y *Bulletin*, yr hwn oedd yn meddu meddwl

cryf a chorff gwan, ac erbyn hyn sydd yn gorwedd yn mhriddellau y dyffryn. Collodd San Francisco un o'r meddylwyr mwyaf galluog, pan fu farw Mr. Williams, ac yr oedd yn un o'r ysgrifenwyr rhwyddaf a mwyaf darllenadwy. Efe oedd Llywydd Budd Gymdeithas y Cymry yn San Francisco; a thrwy ei lafur ef y daeth y Gymdeithas i'r cyflwr llwyddianus y mae ynddo.

Ar ol gwario wythnos yn San Francisco, cychwynais i Placerville i weled fy mrodyr a llawer o gyfeillion. Eithr yn lle cyfarfod fy mrodyr mewn dedwyddwch a llawenydd, fel yr oeddwn yn dysgwyl gwneyd wrth ymadael o San Francisco, y newydd cyntaf a gefais, wedi cyraedd y lle, oedd fod fy mrawd Morris wedi cyfarfod a damwain erchyll drwy i bylor mewn twll danio arno. Cymerodd hyny le yn y mwnglawdd, tuag awr a haner cyn fy nyfodiad i'r lle. Mae yn boenus i mi orfod cofnodi iddo golli ei olygon yn gwbl; ac o herwydd hyny, yn lle llawenydd, tristwch a galar oedd yn fy nghyfarfod.

Yr oeddwn wedi treulio amryw o fisoedd yn y cylchoedd hyny, cyn i mi gychwyn ar fy nheithiau; a gallaf ddweyd fod Placerville yn un o'r pentrefydd prydferthaf, iachaf a ffrwythlonaf a mwyaf difyrus yn y wlad.

Ymddengys fod y trigolion yn gwneyd mwy tuag at gysuron eu gilydd na thrigolion ein pentrefydd yn gyffredin. Agorir mwngloddiau newyddion yn yr holl amgylchoedd hyny; ac felly y mae Placerville yn dangos cynydd amlwg. Ni chlywais neb erioed yn dweyd nad oeddynt yn hoffi byw yno. Tua dwy filldir oddi yno y mae "Prospect Flat Mine," lle y mae Mr. Evan Rowlands (*Ynysog*) a'i frawd yn arolygwyr; ymwelais a hwynt, a chymerasant fi drwy y mwnglawdd. Richard yw yr *head manager*. Rhoddir gwaith i dros driugain o bobl wynion yno, ac mae y mwnglawdd yn talu yn well nag erioed. Efe yw y gwaith goreu yn yr amgylchoedd. Cefais amser difyrus iawn yno yn nghwmni priod hawddgar Ynysog—Telynores Cybi. Aeth yr amser heibio fel mwg tatws, yn swn ei thelyn berseiniol. Gwyn fyd pe gallai pob hen lanc gael gafael ar wraig fel hon; byddai yn fath o nefoedd ar y ddaear. Y "Pacific Mine" yw yr agosaf at y "Prospect;" a Chymro caredig o'r enw Thomas yw arolygydd hwnw hefyd; ond rhaid oedd i mi beidio ymdroi yno, gan fod dyledswydd yn galw am i mi gymeryd fy mrawd anffodus at feddygon medrus yn San Francisco. Gallaf ddweyd i mi gael pedair wythnos o lafur caled yn Placerville tra

yn gweini ar fy mrawd; hefyd dylwn grybwyll fod yr hen gyfaill Marshall, yr hwn oedd y cyntaf i ddarganfod aur yn California, yn fyw ac iach yn y cylchoedd hyny.

Cychwynasom un boreu o Placerville yn ngherbyd Mr. Thomas, i Single Springs, deuddeg milldir o bellder. Yr oedd y rheilffordd yn yr un cyflwr a phan y gadewais y lle flynyddau yn ol; ond darogenir fod cwmni am ei gorphen i Placerville yn fuan. Byddai hyny yn gaffaeliad mawr i'r holl amgylchoedd. Cyrhaeddasom San Francisco yn ddiogel, a threuliais tua thair wythnos yno. Wedi hyny gadewais y ddinas yn llwyr argyhoeddedig ei bod wedi lleihau mewn poblogaeth amryw o filoedd. Ac yr oedd prisiau tai a lotiau mewn rhai parthau o'r ddinas wedi dyfod i lawr i'r haner, o ran gwerth, i'r hyn yr oeddynt bum' neu chwe' blynedd yn flaenorol. Rhaid fod rhywbeth allan o le yn achos i wlad mor gyfoethog a California redeg yn ol yn lle myned ar gynydd; a'r gred gyffredin yno oedd yr achoswyd hyny gan y Chineaid. Nis gellir rhoddi y bai ar Kearney o herwydd gwelais ef yn gweithio yn galed fel *cartman*, gyda ffedog o ledr o'i flaen. Gwelais a chlywais Moody a Sankey hefyd; ond nid oeddynt yr hyn y dysgwyliwn eu cael.

Ar ol penderfynu ymadael o San Francisco, codais docyn gyda'r rheilffordd i Yuma, Tiriogaeth Arizona, gan feddwl ar y pryd am fyned i lawr i Gwaymas, Mexico, sef porthladd ar lan Gulf of California. Honir gan lawer y bydd y lle hwnw yr un mor bwysig yn fasnachol a San Francisco, yn mhen ychydig o flynyddoedd. Wedi cyraedd Yuma, cymerais fy mherswadio i fyned i fyny yr Afon Colorado, rhyw haner cant o filldiroedd, sef i'r mwngloddiau. Mae agerlongau bychain yn rhedeg i fyny yr Afon Colorado am o 400 i 500 o filldiroedd; ond ar yr adeg yr oeddwn yno dygwyddodd yr afon fod mor isel, fel nas gallai y badau nofio; ac o herwydd hyny bu raid i mi fyned gyda'r cludgerbyd dros yr holl bellder. Yr oedd ffordd gyda glan yr afon, ond ni welais ffordd erioed mor lychlyd. Os na haner orchuddid ni gan lwch byddai y tywod hyd at echyl y cerbyd. Nid oes dim i'w ddweyd am lanau yr Afon fawr Colorado, y ffordd yr oeddwn ni yn teithio, heblaw mai diffaethwch hollol ydyw. Yn gyffredin y mae y tir isel gyda glanau yr afonydd a elwir Gwaelodion, yn dir bras, da a ffrwythlon; ond nid felly y mae oddeutu glanau y Colorado. Mae yr iseldir ar lanau yr afon yr un modd a'r holl wlad oddi amgylch, yn anialdir mwyaf diffaith a welodd dyn erioed.

Yr oedd amryw o fwngloddiau yn cael eu gweithio mewn llawer o leoedd yn agos i lan yr afon; ond yr oedd rhai o honynt o 20 i 30 o filldiroedd oddiwrth yr afon. Yr oedd dwfr yr afon yn risialaidd, ac yn iach i'w yfed; eithr nid oedd dwfr i'w gael yno ond yn unig yn yr afon. Treuliais ddau fis yn gweithio bymtheng milldir oddiwrth yr afon, mewn gwlad hollol ddiffaith; ac yr oedd yn rhaid cario y dwfr ar gefnau asynod o'r afon at ein gwaith. Hefyd yr oedd yn rhaid i ni fyned lawn bum' milldir i ymofyn ychydig o goed i wneyd tan; ac yr oeddym yn byw mewn twll yn y ddaear. Wedi rhoddi prawf ar fy ffawd yno dros yr amser a nodais, a chan nad oeddwn yn iach, teflais y cwbl i fyny, er fod golwg lled addawol ar y claim, a dychwelais i Yuma. Cyfrifir mai hwnw yw y lle poethaf yn America, yn y tymor haf, os nad yn y byd; ac yr oedd yr hin yr haf hwnw yn 120 o raddau yn y cysgodion ar droion; hefyd yr oedd yr un mor boeth yn y nos. Mae ganddynt hanes, neu chwedl yn Yuma am filwr fu farw yno, ac iddo fyned i uffern, ond yr oedd y lle hwnw gymaint yn oerach, fel y dychwelodd ei ysbryd i Yuma, i ymofyn ei blanced i'w gadw yn gynes!

Mewn trefn i fyned o Yuma prynais docyn i Tuson; ac aethym drwy wlad hollol newydd,

lle nad oedd un creadur byw i'w weled, ond ambell i fran yn awr ac eilwaith. Cyfrifir Tuson yn hen dref Fexicanaidd, ond nid oes ynddi ddim byd neillduol i dynu sylw y teithydd, ond yr oedd yn hynod o fywiog ar yr adeg dan sylw drwy fod cynifer o bobl yn ymdeithio i weled y wlad a'r Tomestone Mines, sef y mwngloddiau cyfoethocaf yn y Diriogaeth. Dywedir fod y cyflog yno ar y pryd yn bedair dolar y dydd.

Codais docyn o Tuson i Lordsburg, New Mexico, ar y Southern Pacific Railway, yr hon nad oedd yn codi ond 10 cent y filldir. Deallais fod 50 o filldiroedd o Lordsburg gyda'r cludgerbyd i Silver City. Mae y lle hwn wedi bod yn enwog; eithr deallais nad oedd ond ychydig yn gweithio yno yr amser hwnw. Penderfynais fyned i'r ffrynt, fel y dywedir, neu ben pellaf y rheilffordd, yr hon oedd ar y pryd yn cyraedd o fewn 20 milldir i'r fan lle yr oedd arnaf eisiau myned. Cymerais gludgerbyd oddi yno dros y gweddill o'r daith, drwy wlad hynod o beryglus, drwy fod yr Indiaid a'r *Cow Boys* y pryd hwnw yn ysbeilio ac yn lladd yr holl deithwyr a allent eu goddiweddyd, a phawb mewn gwirionedd y deuant ar eu traws. Cyrhaeddais ben fy nhaith i El Paso, yn llwyddianus, heb i neb ymosod arnaf.

Paso Del Norte, neu El Paso, Mexico, y gelwir y dref hon, a hi yw y fwyaf a'r harddaf a welais yn Mexico; ac os nad wyf yn methu, hi yw yr ail mewn maintioli yn Nhalaeth Chihuahua. Mae poblogaeth Mexico tua 10,-000,000, ond ymddengys fod llawn eu haner, os nad mwy, yn Indiaid; ac mae y gweddill yn gymysgfa o bob lliw. Dywedir fod yno tua 500,000 o Ewropeaid. Mae mwyafrif mawr y bobl o liw tywyll i'w gweled yn Paso Del Norte; ond er y cwbl gwerin-lywodraeth sydd yn y wlad; ac mae y Cyfansoddiad wedi ei wneyd mor bell yn ol a'r flwyddyn 1824, yn rhoddi yr un manteision gwladol i bobl o bob lliw. Yr oeddwn yn gweled pethau yn El Paso yn hynod o farwaidd ryw fodd, er hyny yr oedd pawb yn cymeryd eu byd yn esmwyth. Mewn gwirionedd, ychydig iawn o bobl a welir ar yr heolydd am amser ar ol ciniawa, gan y byddant oll wedi myned i gymeryd cyntun, ac felly bob dydd. Nid yw y Mexicaniaid, fel peth cyffredin, yn meddwl dim am y dyfodol, nac yn gofalu llawer am gasglu cyfoeth, ond gwell ganddynt fyw yn ol fel y daw y byd gyda hwy. Y cyflog a delir i'r Mexicaniaid yn nghylchoedd El Paso yw dolar y dydd; ac y mae yn rhaid iddynt gael eu tal bob nos, ar ol darfod eu diwrnod gwaith.

Er fod El Paso, Mexico, yn hen ddinas, nid oes ynddi lawr o bethau rhyfedd. Mae ynddi Eglwys Gadeiriol Babyddol henafol, ac mae llawer wedi ysgrifenu ei hanes, ond nid oedd golwg fawreddog arni i mi mewn un modd, er na chefais gyfleusdra i fyned i mewn iddi. Adeiladau o un uchder llofft yw y tai yn gyffredin, ac mae llawer o honynt wedi eu gwneyd gyda rhyw fath o briddfeini, 15 modfedd o hyd, 8 modfedd o led, a phedair modfedd o drwch. Nid oes dim prydferthwch adeiladol yn y tai na'r adeiladu cyhoeddus.

Nid oedd El Paso, Texas, yr amser hwnw, ond pentref bychan; eithr y mae rhesymau dros gredu y bydd yn fuan yn un o'r lleoedd pwysicaf yn y De Orllewin; canys yr oedd amryw o reilffyrdd yn cael eu hadeiladu i ddyfod yno o wahanol gyfeiriadau, yr hyn a wna El Paso yn ganolbwynt masnach y parthau hyny. Afon y Rio Grande yw y terfyn rhwng Texas a Mexico, ac mae El Paso ar ochr Mexico i'r afon, sef hen ddinas y Mexicaniaid, ac nid yw El Paso Texas, ond megis ychwanegiad ati. Nid oedd y Rio Grande yr amser yr oeddwn yno, fel afon o ddwfr rhedegog ond cul a bas; eithr y mae gwely yr afon yn llydan. Ar lifogydd mawrion y mae yr afon yn aml yn symud ei gwely, a chan ei bod yn

llinell derfynol rhwng y ddwy wlad, y mae hyny yn achosi anghydfod yn aml rhwng Mexico a'n Hewyrthr Sam.

Cymerais gludiad o El Paso, Mexico, yn y llythyr gerbyd i fyned i Chihuahua, Mexico, tua 150 o filldiroedd, o herwydd y cynwrf mawr a wnaed mewn canlyniad i adroddiadau am fwnau cyfoethog yn y lle hwnw; ond yno cefais fy siomi yn enfawr. Penderfynais ddychwelyd i El Paso, ac wedi prynu asyn i gario fy nghelfi, cyrhaeddais yn ol yn llwyddianus, ar ol pythefnos o absenoldeb. Wedi treulio ychydig o amser yn mhellach yn y cylchoedd hyny, cychwynais am Silver City, New Mexico, a chyrhaeddais y lle yn llwyddianus.

Cefais gwmni Cymro o'r enw David Lewis, o El Paso, i Silver City—oriadurwr wrth ei alwedigaeth, ond un sydd yn awr wedi dewis yn hytrach fod yn fwngloddiwr. Cyrhaeddasom Deming, sef *junction* y rheilffyrdd, yn ddiogel. Yr oeddym wedi cael ein rhybuddio lawer gwaith am i ni edrych ar ol ein hunain a'n harian yn Deming, am nad oedd yno, meddid, braidd neb ond hapchwareuwyr ac ysbeilwyr; felly buom yn dra gwyliadwrus, gan drefnu i fyned yn y dydd—pryd y gwelsom mai tua phymtheg o bebyll yn unig oedd yn gwneyd i fyny y dref, a *saloons* oedd y

rhai hyny i gyd oddigerth siop cigydd! Gorfu i ni aros yno hyd nes y cawsom wagen yn myned i Silver City, pellder 55 o filldiroedd. Yr oedd y tywydd ar y pryd yn oer iawn, felly chwilio am gysgod gwynt a bwyd oedd y peth cyntaf i'w wneyd; ond nis gallem gael gwell lle na *box car* oedd ar y *side track*. Dyna lle y buom yn cartrefu am dri diwrnod, pryd y cawsom gyfleusdra i fyned yn mlaen i Silver City. Rhyfeddais fod tref fechan mor brydferth, wedi cael ei hadeiladu mewn anghyfaneddle, mor bell o bob man. Mae yno dai o briddfeini hardd, gyda *mansard roofs*, ac ystordai, ysgoldai, &c., o'r gwneuthuriad goreu; yn fyr, gellir dweyd mai Silver City yw y dref oreu yn y Diriogaeth. Eto ryw fodd, er cymaint o fusnes mae yn ei wneyd, ceidw y rheilffyrdd draw yn barhaus; hyderir, modd bynag, y gwneir cangen o reilffordd yno yn fuan. O fewn tair milldir i'r dref, yr oedd mwnglawdd, ac amryw o Gymry yn gweithio. Cymro ieuainc hawddgar o'r enw Wm. Owens, oedd yr arolygwr. Treuliais dri mis yn mwngloddiau yno. Cyfrifir y wlad oddiamgylch Silver City yn lle hynod o iach; ond o herwydd fy mod yn wanaidd ac yn wael fy iechyd, mewn canlyniad i ddirdyniadau y crydcymalau, penderfynais fyned i chwilio am

le mwy gwareiddiedig na Silver City i gael adferiad. Aethym gyda'r *stage* i Deming, a phrynais docyn i ddinas New York gyda'r Atchison & Topeka R. R., yr hon oedd newydd ei hagor, a'r cludresi wedi dechreu rhedeg y ffordd hono o San Francisco, i'r Dwyrain. Cefais fod fy nghludiad o Deming i New York, yn costio yr un faint ag a gostiasai i mi fyned yno o San Francisco; er fod deuddeg cant o filldiroedd o wahaniaeth yn y pellder, sef y ffordd o Deming i San Francisco. Cymerir mantais fel hyn bob amser wrth godi tocyn drwodd ar hyd y ffordd. Buom ar y ffordd am bedwar diwrnod, ond gan nad oedd fy iechyd yn dda, ni chefais lawer o bleser wrth edrych ar y golygfeydd ar hyd y ffordd. Cyfarfyddais a fy mam, a fy chwiorydd, yn New York, y rhai nad oeddwn wedi eu gweled er's naw mlynedd. Yr oedd fy nhad, Owen Thomas, wedi ei gladdu yn Nhalaeth Virginia bedair blynedd yn flaenorol.

Yn awr yr wyf yn terfynu hanes fy nheithiau, gan obeithio y bydd y llyfr hwn yn fuddiol a dyddorol i'r darllenwyr. Ysgrifenwyd yr hanes dan lawer iawn o anfanteision, mewn bwthynod, yn yr awyr agored, ar fyrddau llongau, ac yn aml yn mhlith anwariaid. Barnwyd y byddai i'r arluniau wneyd y llyfr yn fwy dyddorol i'r darllenwyr; ac os cant hwy gymaint o fwyniant wrth ei ddarllen ag a gefais i wrth ei gasglu, boddlonir ni oll.

DIWEDD.

